Y

# FLWYDDYN EGLWYSIG.

## MYFYRDODAU

PRIODOL I'R

## Suliau a'r Gwyliau

DRWY 'R FLWYDDYN.

GAN Y PARCH. MORRIS WILLIAMS, M. A.
CURAD BANGOR.

Bydd hefyd o newydd loer i newydd loer, ac o Sabboth i Sabboth, i bob cnawd ddyfod i addoli ger fy mron i, medd yr Arglwydd. *Esay* 66. 23.

BALA:
ARGRAPHWYD GAN R. SAUNDERSON.
1843.

# RHAGYMADRODD.

MAE 'r Eglwys yn cyfrif ei blwyddyn, nid wrth droadau haul na lleuad natur, ond wrth y pryd y cyfododd HAUL CYFIAWNDER i lewyrchu i'r rhai oedd yn eistedd mewn tywyllwch ym mro a chysgod angau: ac o amgylch HWN y mae 'r Eglwys, yr hon sy 'n dêg fel y *Lleuad*, yn cylch-droi yn ei Gwasanaeth beunyddiol, a'i *Chalendar* hi yw yr *Almanac* Cristionogol.

Dechry blwyddyn yr Eglwys ar y Sul cyntaf yn Adfent: hi a neillduodd y tymmor hwn, sef y mis nesaf o flaen y Nadolig, i barottôi medd-yliau ei haelodau i gadw dyledus goffa am Ddy-fodiad ein Harglwydd i'r byd, yr hyn y mae 'r gair *Adfent* yn ei arwyddoccâu.

Yna ar y Nadolig yr ydys yn cadw Gwyl "ei Sanctaidd Enedigaeth;" a thrannoeth, ac ymhen deuddydd gwedi, i ddangos mai 'r Groes a gor-thrymder yw cyfran ei ddisgyblion, cedwir Gwyl Sant Stephan a Gwyl Gwirioniaïd Bethlehem, y rhai a ddïoddefasant farwolaeth gyntaf o'i achos. Y mae Gwyliau, testun y rhai yw dï-oddefaint, fel hyn yn dilyn Gwyl o orfoledd; gan ddysgu i ni "lawenhâu mewn dychryn." Ar yr un egwyddor y mae 'r Ymprydiau a'r Gwyliau yn gymmysg â'u gilydd drwy 'r flwyddyn.

Ar y diwrnod sy rhwng Gwyl Sant Stephan a Gwyl Plant Bethlehem gosodwyd Gwyl y "Disgybl Anwyl," fel y gwelom fod y rhai y mae Crist yn eu hoffi fwyaf, â'u coel-bren ymysg dïoddefwŷr.

Dydd Calan yw Gwyl yr Enwaediad, pan ddechreuodd ein Hiachawdwr ei Hun ddïoddef, ac y tywalltwyd y defnyn cyntaf o'i werthfawr Waed dros ein pechodau.

Yna y dilyn yr Ystwyll, i gofio am ei Ymddatguddiad i'r Cenhedloedd, blaenffrwyth y rhai a ddaethant i'w addoli wrth dywysiad y Seren. Yn fuan ar ol hyn, gyd â mawr brïodoldeb, y dilyn Gwyl Troad Sant Paul, Apostol y Cenhedloedd: ac yn nhymmor yr Ystwyll hefyd y mae Gwyl y Puredigaeth, pan ganodd Simeon y byddai ein Harglwydd "yn Oleuni i oleuo 'r Cenhedloedd."

Yna y dilyn Ympryd deugain niwrnod y Garawys, pryd y tynnir ein sylw, yn y prif Lithiau, at ei Demtiad gan ddiafol, yr hwn a orchfygodd gan ymprydio, i ddangos mai dyna un o'r moddion drwy y rhai y gallwn ninnau wrthsefyll yn llwyddiannus y cyffelyb demtasiynau: ac hefyd at y mannau hynny o'r Ysgrythyr ag sy 'n cynnwys esamplau ac annogaethau prïodol i ni ar y matter. Y mae 'r Garawys hefyd yn dymmor o barottôad i ni erbyn y Pasg, fel ag y mae 'r Adfent erbyn y Nadolig. Yn yr wythnos olaf o'r Garawys, gesyd yr Eglwys o'n blaen yn fwy

neillduol "ei ddirfawr Ing, a'i Chwys gwaedlyd, ei Grog a'i Ddïoddefaint, ei werthfawr Angau, a'i Gladdedigaeth."

"Dros brydnhawn yr erys wylofain; erbyn y bore y bydd gorfoledd:" canys yma, wedi bod megis yn angladd ein Brawd a'n Cyfaill, ac yn wylo gyd â'r gwragedd sanctaidd uwch ben ei fedd, ni a'i gwelwn ar fore Gwyl y Pasg wedi adgyfodi 'n anrhydeddus, a chanddo ynghrôg wrth ei wregys agoriadau uffern a marwolaeth, ac yn dyfod i'n canol, gan ddywedyd wrthym, "Tangnefedd i chwi." Y mae adsain gorfoledd y Pasg yn parhâu drwy 'r Llun a'r Mawrth canlynol, y rhai ydynt Wyliau; fel y swn sy 'n aros yn y glust ar ol i floedd udgorn y fuddugoliaeth ddistewi, neu fel y tannau yn ysgwyd ar ol i'r telynor orphen chwarau.

Ymhen y deugain niwrnod cedwir Gwyl Dydd y Dyrchafael, sef ei Anrhydeddus Esgyniad i'r nefoedd i eistedd ar ddehenlaw 'r Tad: ac ymhen deng niwrnod arall, cedwir coffadwriaeth orfoleddus am Ddyfodiad yr Yspryd Glân, y Diddanydd a addawsai Crist ei anfon i ni o'r nef.

Y Sul nesaf ar ol y Sulgwyn yw Sul y Drindod, i ddwyn ar gof i ni yn fwy neillduol bwysfawrowgrwydd athrawiaeth Undeb Dwyfol y Tri Pherson, a'u cyd-weithrediad yn iachawdwriaeth dyn. Ac fel hyn y mae 'r hanner gyntaf o'r flwyddyn Gristionogol yn terfynu.

Rhennir blwyddyn yr Eglwys yn ddwy ran lled gyfartal. Yn yr hanner gyntaf dygir ger ein bronnau *Athrawiaethau* y Grefydd Gristionogol; a hynny, fel y dangoswyd uchod, mewn cyssylltiad â hanes bywyd a marwolaeth ein Hiachawdwr. Ond o Sul y Drindod hyd y Sul Cyntaf yn Adfent, sef yr hanner arall o'r flwyddyn, cyfeiria 'r Eglwys ein sylw yn bennaf at *Ddyledswyddau* crefydd, fel y gwelir oddi wrth y Colectau a'r Llithiau. Nid yw 'n pregethu athrawiaeth heb ddyledswydd, na dyledswydd heb athrawiaeth; ac wrth osod y naill hanner o'r flwyddyn yn bennaf i draethu 'r naill, a'r hanner arall yn bennaf i annog i gyflawni 'r llall, mae 'n dangos nad ydyw 'n dyrchafu athrawiaeth uwchlaw dyledswydd, nac yn ystyried dyledswydd yn fwy angenrheidiol nag athrawiaeth; ond y dylai y naill fyned lawlaw â'r llall, a bod yn wasanaethgar i'w gilydd.

Y mae Dyddiau Gwylion yr Apostolion yn digwydd yma ac accw ynghorph y flwyddyn, megis y mae 'r ser yn codi yn eu tro, ac yn dyfod yn weledig y naill ar ol y llall, yn ffurfafen natur. Maent yn fuddiol i gyffrôi 'r "meddwl puraidd" i rodio yn ôl traed y praidd, ac i'n hannog i fod yn ddilynwŷr i'r Apostolion, fel ag y buont hwythau i Grist.

Y mae pob Dydd Gwener trwy 'r flwyddyn, oni bydd y Nadolig yn digwydd arno, wedi cael

ei osod i fod yn Ddydd Ympryd, i gofio mewn hunan-ffieiddiad am Angau 'r Gwaredwr. Fel hyn y mae pob Dydd Gwener yn Ddydd Gwener y Croglith wythnosol i ni, fel ag y mae pob Sul yn Ddydd Pasg wythnosol.

Gwelwn, ynte, fod yr Eglwys yn dwyn corph cyflawn o Dduwinyddiaeth ger bron ei haelodau o flwyddyn i flwyddyn yn ei Gwasanaeth, a hynny, sylwer, yn hollol anymddibynnol ar bregethau ei Gweinidogion. Gwyddai 'r Eglwys yn dda, pe gadawsai beth mor bwysig a hyn i ddamwain, neu i ewyllys neu fympwy y Gweinidog, mai 'r canlyniad yn aml fuasai, (yr hyn sy 'n digwydd mewn cynnulleidfaoedd ag sydd wedi gwrthod y drefn hon) gadael rhai athrawiaethau heb eu crybwyll byth, neu o leiaf ond yn dra anfynych, a gadael llawer dyledswydd heb ond yn anaml, os byth, ei phwyso at y gwrandawŷr. Ac am hynny, yn ei gofal am ei phlant, mae 'n rhwymo ei Gweinidogion i rannu iddynt *eu bwyd yn ei bryd*, nid yn gymmaint yn ol eu golygiadau ammherffaith eu hunain, ond yn ol ei threfn ddoethach a mwy anffaeledig a phrofiadol ei hun.

Mewn perthynas i'r llyfryn hwn nid oes achos dywedyd ond ychydig. Yr wyf yn rhwymedig am ei gynllun i Awdwr y *Christian Year*, o'r hwn hefyd y benthycciais ambell un o'r meddyliau. Tybiais y gallai rhywbeth o'r fath fod yn wasanaethgar i Eglwyswŷr, yn enwedig rhai ieuaingc, yn y dyddiau hyn, pan y mae cymmaint

o ddeffrôad yn y wlad ynghylch pethau Eglwysig, pan y mae cariad at yr Eglwys yn cynhesu, a gelyniaeth atti yn ymgynddeiriogi. Ond fel hyn y mae wedi bod i raddau ymhob oes: ond gwyddom ei bod yn arfer llwyddo dan wrthwynebiadau, fel ag y mae 'r dderwen yn gwreiddio yn ddyfnach o herwydd y gwyntoedd sy 'n curo arni. Disgyned y gwlaw, deued y llif-ddyfroedd, chwythed y gwyntoedd, a rhuthrant ar ein Tŷ Hwn; ond ni syrth; oblegid sylfaenwyd ef ar y Graig:* a phe syrthiai, gwell fyddai gennym syrthio gyd âg ef, a chael ein claddu yn ei chwalfa, na sefyll i fynu gyd â'i gaseion.

"Dymunwch heddwch Jerusalem; llwyddded y rhai a'th hoffant.
"Heddwch fyddo o fewn dy ragfur, a ffyniant yn dy balasau.
"Er mwyn fy mrodyr a'm cyfeillion y dywedaf yn awr, Heddwch fyddo i ti."

---

Caniatta, Arglwydd, ni a attolygwn i Ti, fod i chwŷl y byd hwn, trwy dy reolaeth Di, gael ei drefnu mor dangnefeddol, fel y gallo dy Eglwys Di dy wasanaethu yn llawen ym mhob duwiol heddwch, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

* *St. Mat.* 7. 25.

# CYNNWYSIAD A MYNEGAI.

Y

# FLWYDDYN EGLWYSIG.

## Y SUL CYNTAF YN ADFENT.

### 'WELE FI YN DYFOD.'

**A hyn, gan wybod yr amser, ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu: canys yr awrhon y mae ein hiachawdwriaeth ni yn nes na phan gredasom. *Rhuf.* 13. 11.**

O! HENFFYCH, foreuddydd gogoned,
Mae'n hoff gennym weled dy wawr
Yn coffa dyfodiad ein Ceidwad
O'i nefol oleu-wlad i lawr,
Fel seren ddisgleirwedd y dwyrain
Oleugain i'n harwain yn hawdd
At breseb ein Prynwr Cyssegr-lân,
Y Baban anniddan di nawdd.

Mae'r nos wedi ffoi dan y llenni,
Mae'r wawr wedi torri ar ein tir,
Mae'r adar yn canu'n yr wybren,
Fe gyfyd in' Haulwen cyn hir;

Daw Haulwen Bendigaid Cyfiawnder
  I'r golwg yn amser ein Naf,
A'i esgyll a wasgar drwy 'r hollfyd
  Falm iechyd o'u clefyd i'r claf.

Deffrown, ynte, bellach, a gwyliwn,
  Cyfodwn, na hunwn yn hwy;
Na chysgwn, fel eraill, ar liniau
  Pleserau na moethau byth mwy:
Ag arfau 'r goleuni ymdaclwn,
  Fel milwŷr, a pharchwn ein ffydd,
A gwisgwn sancteiddrwydd a chariad,
  Hardd wisgiad a dillad y dydd.

## YR AIL SUL YN ADFENT.

### YR YSGRYTHYRAU.

Pa bethau bynnag a ysgrifenwyd o'r blaen, er addysg i ni yr ysgrifenwyd hwynt; fel trwy amynedd a diddanwch yr ysgrythyrau y gallem gael gobaith. *Rhuf.* 15. 4.

Mor hardd bu 'r Prophwydi, mor wresog,
  Yn traethu Gair enwog yr Ior!
Mor beraidd ar fryniau Caersalem
  Oedd caniad ac anthem eu côr!
Yr Yspryd ennynodd eu carol
  Prophwydol a dwyfol yn dân;
Tystiolaeth yr Iesu Bendigaid
  Oedd byrdwn ac enaid eu cân.*

* Tystiolaeth Iesu ydyw yspryd y brophwydoliaeth. *Dat.* 19. 10.

Yr Iesu oedd pwngc y cysgodau
  A'r gwaedlyd aberthau bob un,
Eu sylwedd a'u disglair ogoniant
  Oedd aberth ei haeddiant ei Hun:
Rhoi terfyn ar swydd yr aberthwr
  Yn angau'r Cyfryngwr a wnaed;
Daeth diwedd i'r gyfraith gysgodol,
  Efengyl dragywyddol a gaed.

O Dduw, 'r hwn a ro'ist yr Ysgrythyr
  Yn addysg a chysur i ni,
Rho d' Yspryd i agor ein golwg
  I'w deall, attolwg i Ti:—
Gwna 'm calon, mewn cariad a gobaith.
  Yn ufudd i'th gyfraith, fy Nuw,
Ac yna, pan ddarffo fy mywyd,
  I wynfyd dwg f' yspryd i fyw.

## Y TRYDYDD SUL YN ADFENT.

### GWEINIDOGION Y GAIR.

Yr Arglwydd a roddes y gair; mawr oedd mintai y rhai a'i pregethent. *Psalm* 68. 11.

Mor hardd yw traed Cenhadon Hedd
  Yn gwa'dd i'r wledd brïodas!
Mor bêr eu llais, mor daer eu llef,
  Yn gwa'dd i'r nef a'i theyrnas!

Mae hyfryd lais Efengyl fwyn
  I'n clyw yn dwyn ei doniau,
Sef Crist a'i Waed o ddwyfol rin,
  Yn fywyd i'n heneidiau.

Mae udgorn arian Crist a'i Iawn
Yn felus iawn yn seinio;
O! deued pechadurus fyd
A'i bobl i gyd i wrando.

Udgenwch, Efangylwŷr Ion,
Ar sanctaidd Sion fynydd,
Cyhoeddwch ddydd y Jubili,
Fe roed i ni Waredydd.

Ewch, amgylchynwch ddaear lawr
Yn fintai fawr genhadol,
Pregethwch Grist a'i olud llawn,
Ei rad, a'i Iawn gwaredol.

A holl deyrnasoedd daear gron
Yn eiddo 'n Crist ei Hunan;
A theyrnas Dduw a'i Fab ynghŷd
A leinw'r byd yn gyfan.

## Y PEDWERYDD SUL YN ADFENT.

### DYDD Y FARN.

Crist—a ymddengys yr ail waith. *Heb.* 9. 28.

Mae 'r Barnwr wrth y drws yn awr,
Ar dd'od i farnu plant y llawr,
Yr holl genhedloedd, meirw a byw;
Mae llyfrau llydain brawdle 'r nef
Ar agor wrth ei amnaid Ef,
Braidd na chlywn gynsain* udgorn Duw.

* Prelude.

Mae 'r Gwr a hoeliwyd ar y pren
Ar eistedd yng nghymmylau 'r nen,
  Cawn ddedryd deg gan Fab y dyn;
Gŵyr allu pob temtasiwn gref
I hudo dyn o lwybrau 'r nef,
  Fel ninnau temtiwyd Ef ei Hun.

Dygir ar g'oedd o flaen Mab Mair
Bob meddwl, gweithred, a phob gair,
  Dirgel ac amlwg, drwg a da;
A'r cyfiawn i drag'wyddol hedd;
Ond yr annuwiol warthus wedd
  I donnau 'r ysol dân yr â.

Canmoliaeth uwchaf Mab y dyn
Fu gynt yn llwm a thlawd ei Hun
  A roir i'r *elusengar* sant;
A'r edliw chwerwaf gyd â gwawd,
I'r hwn a wariodd ran y tlawd
  Ar ei gybydd-dod neu ei chwant.*

---

## DYDD NADOLIG CRIST.

Gogoniant yn y goruchaf i Dduw, ac ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da. *St. Luc* 2. 14.

Pa beth ydyw 'r canu melus-ber
  A glywaf yn uchder y nef?
Pwy ydyw 'r cerddorion uwch daear
  Mor seingar a llafar eu llef?

* Gwel *St. Mat.* 25.

Cyd-ganodd ser bore 'r gre'digaeth
  Eu llafar beroriaeth yn llon,
Ond nid mor nefolaidd, pe'i clywsem,
  Nac elfydd eu hanthem i hon.

Côr nef yn emynu caniadau,
  A'u cariad a'u doniau yn dân;
Nadolig y Bachgen Trag'wyddol
  Yw testun eu carol a'u cân:—
' Gogoniant i Dduw 'n y goruchaf,
  ' Y nefol sancteiddiaf Dri 'n Un,
' 'Wyllys da 'r Hollalluog maddeugar,
  ' A hedd ar y ddaear i ddyn.'

Cydunwn, blant Eglwys Caersalem,
  Yn anthem bêr Bethle'm bob un,
Rhyfeddwn sancteiddiaf ddyfodiad
  Ein Ceidwad yn Dduw ac yn ddyn;
Ei neges oedd dwyn y pechadur
  O gyflwr ei natur i'r nef;
Ein hanwyl Enneiniog Achubwr,
  Yr Iesu Waredwr yw Ef.

Disgynodd o'r nef a'i mwynderau
  I fyd y gofidiau o'i fodd;
Rhoes heibio 'i ogoniant difrychau,
  Ac yn y cadachau ymdôdd:
Bwriadai mewn arfaeth dragywydd
  Ein gwared o'n cystudd a'n cam;—
O! gwel Ef mor ddiddig, mor addfwyn,
  Ar liniau y Forwyn ei Fam!

I'r ddaear o ganol angylion
  Gostyngai 'i olygon i lawr,
O ddymuniad i wneud ei phreswylwŷr
  Iddo 'i Hunan yn frodyr ryw awr;

Ymwelai â'n daear yn ddirgel
  Yn rhith a dull angel ein Duw;
O'r diwedd Fe ddaeth yn ein natur
  Yn Frawd at ei frodyr i fyw.

Nid byth yn nhref Bethle'm y trigi,
  Rhaid iddi, Grist, golli 'th deg wedd;
Rhaid it' gerdded o amgylch yn ddiwyd
  Nes myned o'r bywyd i'r bedd:
Gwna 'nghalon yn gartre' trag'wyddol,
  Yn drigfa feunyddiol, fy Nuw,
Na ad fy serchiadau 'n amddifaid,
  Na symmud o f' enaid i fyw.

## DYDD GWYL ST. STEPHAN.

### ARDDERCHOG LU Y MERTHYRI.

A hwy a labyddiasant Stephan, ac efe yn galw ar Dduw, ac yn dywedyd, Arglwydd Iesu, derbyn fy yspryd. *Act.* 7. 59.

Mil henffych, gymmanfa 'r Merthyron,
  Mor ddisglaer a gwychion eich gwedd!
Diang'soch o'r 'stormydd croch geirwon,
  Mor hafaidd yw hinon eich hedd!
Mor iraidd yw 'ch palmwydd a gwyrddion,
  A 'ch dillad mor wynion, mor lân!
Mor beraidd a chyson yng Ngwiwnef
  Yw tannau ac oslef eich cân!

Do, do, fe drybaeddwyd eich byddin,
  Eich erlyn yn erwin a wnaed;
Creulondeb yn nwylaw cynfigen
  A droes eich Iorddonen yn waed:

Dïang'soch o goelcerth ffagodau,
  Eich cynnau oedd dechreu eich cân,
'Hedasoch o'r nos at eich Prynydd
  I'r dydd ar adenydd o dân.

Milwriasoch dan Grist eich Pen-llywydd
  Yn wrol dros grefydd y Groes;
Ond mwy buddugoliaeth ennillodd
  Eich angau nag ystod eich oes:
Yn erbyn Philistiaid pregethodd,
  Gweddïodd, a llwyddodd eich llu,
Ond yn eich marwolaeth, Ferthyron,
  Y cwympodd eu Dagon a'i dŷ.

O! fraint nas gall iaith osod allan,
  Er ei hadrodd a'i datgan yn hir,
Cael dioddef mor debyg i'ch Ceidwad,
  Ferthyriad o gariad i'r gwir.
Yn awr canu moliant yn seinber
  Bob amser i'ch NER yn ei ŵydd,
O amgylch gorseddfaingc eich Pennaeth,
  Yw gwobr eich gwasanaeth a'ch swydd.

Ond beth ydyw 'r uchel riddfannau
  Sy'n gymmysg âg odlau eich cân?
'Yr enaid sy'n erfyn am ddïal
  'Y saint a ferthyrwyd â thân:' *
Ewch y'mlaen gyd â'ch hymnau diderfyn,
  Mae 'ch dïal ar ddisgyn i lawr,
Nid yw barn eich ysgeler gyflafan
  A'ch lleiddiaid yn heppian un awr.

* Gwel *Dat.* 6. 9, 10.

Pa beth ydyw'r diwaith goronau,
A'r euraidd delynau di lef
Sy 'nghrog yn eich ymyl? Ai addas
Mud dannau yn ninas y nef?
'O, na! heb dd'od adre' mae llawer
'O barthau ysgeler y byd;
'Nid distaw fydd tannau nefolion
'Pan ddelo'r Merthyron i gyd.'

Tra bo plant yr addewid mewn gafael,
Ymrafael âg Ismael a geir;*
Tra bo'r Eglwys ym myd annuwiolion,
Ei maeddu 'n annhirion a wneir;
Tra bo defaid y nef gyd â bleiddiaid,
Dioddefant eu trais dan eu traed;
Y bleiddiaid yn greulon a'u 'sglyfiant,
Y gorlan difwynant â'u gwaed.

Trwy frad Phariseaid ragrithwŷr
A dwylaw Rhufeinwŷr drwg foes
Y lladdwyd yr Iesu 'n anghyfiawn,
Y Cyfiawn mor greulawn ar Groes;
Ac fel y bu 'r Pen, mae'r aelodau
I boenau annedwydd yn nod
Tra bo Phariseaidd grefyddwŷr
A Phabaidd Rufeinwŷr i fod.

O! Iesu, os rhaid i mi ddioddef
Arteithiau y cleddyf neu 'r tân,
Wrth dystio dros d' Air Bendigedig
A'th Eglwys Gatholig a glân,

* Megis y pryd hynny, yr hwn a anwyd yn ol y cnawd a erlidiai yr hwn a anwyd yn ol yr yspryd; felly yr awrhon hefyd. *Gal.* 4. 29.

Rho nerth i mi yfed y chwerwder
  O'r cwppan yn amser fy Nuw,
A derbyn fy enaid i'r bywyd,
  I wynfyd dwg f' yspryd i fyw.

---

## DYDD GWYL ST. IOAN EFANGYLWR.

### CARIAD CRIST, A CHARIAD AT GRIST.

Yr ydym ni yn ei garu Ef, am iddo Ef yn gyntaf ein caru ni. 1 *Ioan* 4. 19.

PA dafod dyn all draethu'n llawn,
N'eu dafod Seraph uwch ei ddawn,
  Ddyfnderoedd cariad Iesu Glân!
Er llenwi 'r ddaear faith a'r nef
Gan adsain mawl ei gariad Ef,
  Mae'n llettach, dyfnach, uwch na'u cân.

Gostyngiad oedd i'w gariad Ef
Gofleidio Sereiph pur y nef,
  Mor uchel ydoedd rhagor hwy;
Ond caru dynol lwch y llawr,
Fy ngharu i, bechadur mawr,
  O! dyma gariad canmil mwy!

Os dylai llu 'r Angylion glân
Ennyn eu mawl yn nefol dân
  Am serch y Duwdod attynt hwy,
Pa faint tanbeidiach ddylai fod
Fflam ein gorfoledd ni a'n clod
  Am gariad rhad anfeidrol fwy!

O serch at euog ddynol ryw
Y daeth y Mab o fynwes Duw
  I'n daear ni o'r nefoedd wen;
O'i gariad dygodd arno 'i Hun
Faich trwm ein beiau ni bob un,
  Wrth farw drosom ar y Pren.

O, serch di drai! O, gariad rhad!
Mil mwy na chariad mam na thad!
  Pa dâl am dano byth a wnawn?
Am i Ti 'n gynta' 'n caru ni,
Grist, carwn ninnau 'n ol Dydi;
  Gwna ni o'th gariad oll yn llawn.

Pa wrthrych arall dan y ne'
A gâr fy nghalon ond Efe?
  Mae 'n deilwng o'm serchiadau i gyd;
Anghofiaf dai a thir fy ngwlad,
A brawd a chwaer a mam a thad,
  A'r Iesu 'n unig gaiff fy mryd.*

Nesâf at Fwrdd ei Swpper Ef
I ymborthi ar ddanteithion nef,
  Ynghŷd â'm brodyr ar y llawr,
Gan ddisgwyl cyfrannogi fry
Yng nghariad-wledd ei nefol Dŷ,
  A'm 'pwys ar fynwes' Iesu Mawr.

Diddyfna, Iesu, f'enaid tlawd
Oddi wrth ddeniadau 'r byd a'r cnawd,
  A ffrwyna 'm nwydau drwg bob un;
Hoelia fy nghariad wrth dy Groes
A gwna fi tra parhao f' oes
  Yn 'ddisgybl anwyl' it' dy Hun.

* *St. Mat.* 19. 29.

Tremiant ar Sylwedd y sarph bres
  Lle cawsant les iachaol,
Heb deimlo gwenwyn chwantau 'r byd,
  Na brath seirph tanllyd marwol.

Cawsant y goron heb y groes
  Na blinder einioes, yno;
A'r wobr, heb wres y dydd na'i bwys,
  A gorphwys heb lafurio.

'Rwy' 'n deall ambell air o gân
  Angylion glân y gwynfyd,
A chân y saint fu 'n teithio 'n hir
  Cyn cyrraedd tir y bywyd;

Ond nid wy' 'n deall gair o glod
  Babanod mewn gogoniant;
Cerdd heb ei dysgu yn Eglwys Dduw,
  Cân newydd yw eu moliant.

Cân newydd a wna 'r pedair mil
  A'r saith ugeinmil ganu;*
Peraidd yng nghlustiau Duw ei Hun,
  Ond nis gall dyn ei dysgu.

* Ac wele, Oen yn sefyll ar fynydd Sïon, a chyd âg ef bedair mil a saith ugeinmil---a hwy a ganasant megis caniad newydd---y rhai hyn yw y rhai ni halogwyd â gwragedd. *Dat.* 14. 1--4.

Mae gwaith yr Eglwys yn pennodi y rhan hon o'r Ysgrythyr i'w darllen ar Ddydd Gwyl y Gwirioniaid, yn dangos mai ei barn hi yw mai babanod achubedig a feddylir wrth y pedair mil a'r saith ugeinmil.

Ein coelbren ni ar hyd ein hoes
  Yw cario Croes ein Ceidwad,
A goddef pwys a gwres y dydd
  Yn llafur ffydd a chariad.

Ein rhan yw surion ddail y byd,
  A dyfroedd myrllyd Marah;
Ynghanol tanllyd seirph mae'n taith,
  Yn rhwystro 'n gwaith a'n gyrfa.

Ond rhedwn, er cael llawer clwy',
  Ein gyrfa trwy amynedd;
Awn at ein plant tu draw i'r llen
  I'r nefoedd wen o'r diwedd.

Thursday. Ps. 19. 45. 85. A.M. —— Ps. 89. 110. 132. P.M.

---

### Y SUL GWEDI 'R NADOLIG.

#### CRIST YN OLEUNI I LEWYRCHU, I FYWHAU, AC I ARWAIN.

I lewyrchu i'r rhai sy'n eistedd mewn tywyllwch a chysgod angau, i gyfeirio ein traed i ffordd tangnefedd. *St. Luc* 1. 79.

Ymwelodd codiad Haul ein Ior
  A'n daear o'r uchelder;
Tywynna'i lewyrch grasol cu
  Drwy gaddug ddu y dyfnder.

I'r rhai sy'n eiste' 'n nh'wyllwch nos
  A chysgod dunos angau,
I'w dwyn o rwymau 'r fagddu 'n rhydd
  Disgleiriodd gwynddydd golau.

‘ Llewyrch o Lewyrch’ yw i’n byd,
‘ Bywiawdwr’ hefyd inni,
Rhydd lewyrch in’, ac fe ’n bywhâ,
Rhydd fywyd a goleuni.

Arweiniodd Colofn Israel Duw,
Drwy ’r anial i’w trigfannau;
Goleuni Crist a’i Yspryd Glân
Sy ’n niwl a thân i ninnau.

O rwymau ’r Aipht fe’n dwg yn rhydd
Drwy ddwfr y Bedydd Purlan,
Fe ’n harwain drwy ei Yspryd Gwir
Drwy ’r anial dir i Ganaan.

Cynnal fy nghamrau, Yspryd Hael,*
Yng ngwersyll Israel d’ Eglwys;
O’i mewn yn unig y rhoi Di
D’ arweiniad i Baradwys.

---

## DYDD ENWAEDIAD CRIST.

Yn yr Hwn hefyd y’ch enwaedwyd âg enwaediad nid o waith llaw. *Col.* 2. 11.

Cyssegrodd Crist â’i waed ei Hun
Ddydd cynta’ ’n blwyddyn newydd;
Cadwn e’ ’n wyl i gofio glân
Ddioddefaint cynta’ ’n Prynydd.

* A’th hael Yspryd cynnal fi. *Psalm* 51. 12.

Gwaedodd y ddeddf E' 'n Faban Bach
  Yn ei dïeiriach lymder;
Goddefodd glwyf y ddeddf o'i fodd,
  Cyflawnodd bob cyfiawnder.

'Roedd dafnau Gwaed Enwaediad Crist
  Yn wystl o'i drist farwolaeth;
Ernes o'r Gwaed a ffrydiai 'n lli
  Ar Galfari 'n fwy helaeth.

Gwaed yr Israeliad ydoedd nod
  A sêl cyfammod Aaron;
Ond Bedydd dwfr yw sêl a nod
  Cyfammod gwell y Cristion.

Enwaedwyd a bedyddiwyd E'
  Rhwng daear a ne' 'n Gyfryngydd,
Wrth dynnu 'r Hen Gyfammod llym
  A rhoddi grym i'r Newydd.

Trwy Waed cyssegrodd Ef ei oes
  O'i gryd i Groes ei Angau;
Trwy Ddwfr ac Arwydd Glân y Groes
  Cyssegrwyd ein hoes ninnau.

Enwaedwyd Crist, yr Addfwyn Oen,
  I ddioddef poen ein beiau;
Bedyddiwyd ninnau i ddwyn y groes
  Ar hyd ein hoes fel Yntau.

Enwaeda 'm calon, Arglwydd Dduw,
  Rho yspryd briw cystuddiol;
Enwaeda 'm clust i wrando 'n glau,
  Dan grynu, d' eiriau nefol.

## YR AIL SUL GWEDI 'R NADOLIG.

### Y PERERIN SYCHEDIG.

Pan geisio 'r trueiniaid a'r tlodion ddwfr, ac ni's cânt; pan ballo eu tafod o syched, myfi 'r Arglwydd a'u gwrandawaf hwynt. *Esay* 41. 17.

PERERIN wyf mewn anial wlad
At Dŷ fy Nhad yn teithio;
Fy ngenedigol wlad sy fry,
'Rwy 'n tynnu tu ag yno.

Cais at ufudd-dod yw fy ngwaith,
Ar hyd fy nhaith ddiffygiol;
A hyn yw 'r mwyaf bleser mau,
Sef canu 'r deddfau dwyfol.*

Pa beth yw cyfoeth, parch, a bri
Y byd i mi, sy 'n Gristion?
Pa'm yr ymrwystraf yn nhew glai
Ei drafferth a'i ofalon?

Er rhwystrau fil sy lawer gwaith
Yn blino 'm taith a'm rhedfa,
Af adre' ar fyr i'r nefoedd wen,
Nid pell yw pen fy ngyrfa.

'Rwy 'n teimlo fod y daith yn flin,
A mi 'n bererin egwan;
O! cynnal Di fy nghamrau, Ner,
A'th dyner law dy Hunan.

* Dy ddeddfau oedd fy nghân yn nhŷ fy mhererindod. *Psalm* 119. 54.

Mewn anial cras yngwres y dydd,
  A llafur beunydd caled,
Rho ddwfr o'r graig i adferu 'ngrym
  A thorri 'm poethlym syched.

Yn nyffryn Baca moes i'm ddwr,
  Lle nad oes dwr ond dagrau;
O'r nef rho wlaw adfywiol clir,
  Boed hwnnw 'n llenwi 'r llynnau.*

Wrth ffynnon Jacob ar dy daith
  Goddefaist artaith syched;
Rho ddwfr y bywyd, Iesu, 'n awr,
  Im' yn fy nirfawr ludded.

Ti deimlaist syched ar y Groes
  Wrth ddioddef loes fy meiau;
Wrth ddwyn dy Groesbren fore a nawn
  Sychedig iawn wyf finnau.

Ym mhoethder gwres dy syched blin
  Rhoent itti win bustledig;
Rhoist Tithau ddwfr o'th ystlys hael
  I lonni 'r gwael sychedig.

Mi yfaf Waed fy Iesu Glân
  Yng ngwledd y Purlan Gymmun;
Bwyttâf ei Gnawd; a hyn, heb fwy,
  Yw 'r oll yr wy' 'n ei ofyn.

* Y rhai yn myned trwy ddyffryn Baca, a'i gwnant yn ffynnon; a'r gwlaw a leinw 'r llynnau. *Psalm* 84. 6.

Ym mywiol rym yr ymborth hwn
O dan fy mhwn a 'mhenyd,
Teithiaf hyd Horeb mynydd Duw,
Caf yno fyw mewn gwynfyd.*

## DYDD GWYL YSTWYLL.

### Y SEREN.

A phan welsant y seren, llawenychasant â llawenydd mawr dros ben. *St. Mat.* 2. 10.

Mor hawddgar yw 'r Seren oleugain,
Ar adain y Dwyrain y daw;
Ar belydr ei llewyrch disgleiriaf
Edrychâf, mi dremiaf o draw:
Mi gwelaf hi 'n sefyll dros ennyd
Uwch Baban Anwylfryd ein Ior,
I ddangos i'r byd a'i boblogaeth
Lle ganwyd ein Pennaeth a'n Pôr.

Daccw Ddoethion y Dwyrain oludog,
A'u rhoddion cyfoethog o fyrr,
Aur, a thus, gan ofidio 'n eu hagwedd
Fod eu hoffrwm i'w Fawredd mor fyr:
Cyflwynant eu hanrheg dan ofni,
Ac isel addoli 'r Duw Ddyn;—
O'i dlodi ca 'r Doethion diragrith
Fwy cyfoeth a bendith bob un.

* Ac efe a gyfododd, ac a fwyttaodd, ac a yfodd; a thrwy rym y bwyd hwnnw y cerddodd efe—hyd Horeb mynydd Duw. 1 *Bren.* 19. 8.

Gwrthododd yr Iuddew ystyfnig,
  Ond derbyn yr Ethnig, ei rad;
Y maen a wrthodai 'r adeilwŷr
  I estronwŷr yn urddas a wnaed:
Ni welwyd wrth breseb y Ceidwad
  Offeiriad na Lefiad wnai les,
Daeth Paganiaid y Dwyrain wrth arwydd,
  O bell at ein Harglwydd yn nes.

Arweiniad y Seren i'r Doethion
  At Grist, ffyddlon ernes in' yw,
Y dygir Cenhedloedd pob talaeth
  O'u heilun-addoliaeth at Dduw:
Y canolfur gwahaniaeth a dynnwyd,
  A rhwygwyd y llen hyd y llawr;
Trwy 'r Prynwr i ninnau Genhedloedd
  Agorwyd y nefoedd yn awr.

Y Bugail a gyrcha 'i ddwy gorlan*
  Yn braidd i'w Lân Eglwys yn un,
Ac impir yr Iuddew yn gangen
  Yn ei hen olewydden ei hun:
Dwg Duw at eu gilydd ryw forau
  Weddillion ei Lwythau sy ar led,
Ac yn unfryd yn Angau 'r Cyfryngwr
  Yr Iuddew a'r Groegwr a gred.

* A defaid eraill sy gennyf, y rhai nid ynt o'r gorlan hon; y rhai hynny hefyd sy raid i mi eu cyrchu. *St Ioan* 10. 16.

## Y SUL CYNTAF GWEDI 'R YSTWYLL.

### GWINLLAN CRIST.

**Tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir; tywalltaf fy Yspryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth. *Esay* 44. 3.**

Ti blennaist, Arglwydd, d' Eglwys Lân
Mewn byd sy 'n aflan odiaeth,
Fel gwinllan dyner, werdd, ac îr,
Ynghanol crasdir diffaeth.

Mae 'n llawn o lysiau, nid o'r byd,*
Ond planwydd Yspryd Iesu;
Nid gwlith y byd na'i wrtaith gau
A bair i'w llysiau dyfu.

Nid dim ond gwlith o'r nefol dir
Rydd gynnydd i'r eginau;
Nid dim ond gwlaw o ddwyfol ddawn
Addfeda 'n llawn ei ffrwythau.

Mae 'r haul yn boeth yn uchder nawn,
Mae 'r egin grawn yn crino;
A'r ffrwyth, gan wynt y ddaear ddu,
Cyn llawn addfedu 'n gwywo.

Bwrw gawodau llawn o faeth
Ar d' etifeddiaeth, Arglwydd;
A thywallt arni nefol wlith
Dy ras a'th fendith fawrlwydd.

* *O'r byd nid ydynt,* megis nad wyf finnau o'r byd. *St. Ioan* 17. 16.

A gwlaw gwrteithiol d' Yspryd Glân
  Ireiddia winllan d' Eglwys,
Nes byddo 'i blodau 'n aml a hardd,
  A'i ffrwyth fel gardd Baradwys.

YR AIL SUL GWEDI 'R YSTWYLL.

BRAWDGARWCH.

Mewn cariad brawdol byddwch garedig i'ch gilydd. *Rhuf.* 12. 10.

Mor hyfryd fod brodyr
  Anwylwŷr yn un,
Gan hawddgar gartrefu
  'N y teulu 'n gyttun;
Y naill yn ymryson
  Heb gynnen na gwall
Flaenori mewn cariad
  Ar ymdrech y llall.

Rhoes Crist ein Brawd Hynaf
  A Breiniaf mewn bri,
Orchymyn tragywydd
  A newydd i ni;
Sef caru heb gynnen
  Na sen a'n gwnai 'n sur
Ein gilydd o galon
  Yn ffyddlon a phur.

Rhoes Crist dros ei frodyr
  Ei fywyd i lawr,
O! serch anghydmarol
  Anfeidrol o fawr!
Rhown ninnau mewn hyder
  Heb lwfrder o'u plaid
I lawr dros eu heinioes
  Yr einioes, os rhaid.*

Bydd hyn yn dystiolaeth
  Gwybodaeth i'r byd,
Er swn ei gynfigen
  A'i gynnen i gyd,
Ein bod yn Grist'nogion
  Ar ddelw'r Duw Ddyn,
Os carwn ein gilydd,
  Ië beunydd, bob un.

Pe magem ymrafael,
  Ond gwael fyddai 'n gwaith,
A ninnau 'n un galon
  Gymdeithion ar daith?
Byw 'n un heb ymryson
  O gwynion na gwawd
Oedd cyngor diweddaf
  Ein Prynwr a'n Brawd.†

* Nac ymrysonwch ar y ffordd. *Gen.* 45. 24.
Dyma fy ngorchymyn i; ar i chwi garu eich gilydd, fel y cerais i chwi. *St. Ioan* 15. 12.

† Yn hyn yr adnabuom gariad Duw, oblegid dodi o hono ef ei einioes drosom ni: a ninnau a ddylem *ddodi ein heinioes dros y brodyr*. 1 *St. Ioan* 3. 16.

Os haua 'n gelynion
  Ymryson di ras
Rhwng brodyr o'r un
  Gyfathrachiad a thras,
Cymmodwn ar frys
  A diffoddwn mewn hedd,
Cyn machlud yr haulwen,
  Y gynnen a'i gwedd.

Wrth nesu at allor
  Ein Heglwys Lân ni,
Os cofi fod cwyn
  Rhwng dy frawd a thydi,
Saf draw am dy fywyd,
  Mae 'n enbyd i'th wg
Droi Cymmun yr heddwch
  I'th enaid yn ddrwg.

Cymmoder chwi 'n gyntaf
  O galon mewn hedd,
De'wch, yna, mewn cariad
  I arlwyad y wledd;
Offrymmwch eich aberth
  Mewn cymmod a'r Tad,
A seliwch eich cymmod
  A'ch gilydd â'r Gwaed.

Duw, Awdwr a Charwr
  Cyttundeb wyt Ti,
Rho gariad brawdgarol
  A nefol i ni;
Tynhâ gwlwm heddwch
  Am danom bob dydd,
A rhwyma ni yn undeb
  A phurdeb y ffydd.

Mae seintiau milfiloedd
  Y nefoedd yn un,
A sain eu pêr leisiau
  A'u tannau 'n gyttûn;
Mae hiraeth yn f' enaid
  Am fyned i fyw
I wlad y tangnefedd
  Yn nefoedd fy Nuw.

---

## Y TRYDYDD SUL GWEDI 'R YSTWYLL.

### GELYNGARWCH.

Os dy elyn a newyna, portha ef; os sycheda, dyro iddo ddiod. *Rhuf.* 12. 20.

Tyred, fy ngelyn, adyn gwael,
  Tyr'd yma i gael ymgeledd;
Attaf yn awr heb ofn nesâ,
  Mi'th guraf â thrugaredd.

Mae'th gefn yn llwm, mae'th wedd yn llwyd,
  Cei gennyf fwyd a dillad;
Os wyt sychedig, rhôf it' ran
  O ddyfroedd cwppan cariad.

Os carodd Crist ei elyn Ef,
  Gan dd'od o'r nef i'w brynu,
Paham na charaf fi fel hyn
  Fy ngelyn a'i ymg'leddu?

Os carodd Crëwr nef a llawr
  Elynion mawr ei natur,
Ai gormod gennyf fi roi 'mryd
  I garu 'nghyd-greadur?

Rhoes Crist ei Waed a'i Gnawd yn faeth
  O luniaeth i'w elynion:
Ai mawr i mi roi bara a dwr
  Yn swccwr i'm caseion?

Os carodd Crist fyfi fy hun,
  A minnau 'n elyn iddo,
Mi garaf finnau (nid gwerth son)
  Fy holl elynion erddo.

Gweddïodd Iesu 'n daer ar ran
  Ei elynion, pan yn marw;
Gwnaf finnau dros fy rhai fy hun,
  Yn ol y cynllun hwnnw.

Duw, maddau i'm gelynion cas,
  A rho dy ras i minnau;
A maddau 'nyled fawr i mi,
  Fel yr wyf fi yn maddau.

## Y PEDWERYDD SUL GWEDI 'R YSTWYLL.

### CRIST YN Y LLONG.

Efe oedd yn cysgu; a'i ddisgyblion a ddaethant atto, ac a'i deffroasant, gan ddywedyd, Arglwydd cadw ni: darfu am danom. *St. Mat.* 8. 24, 25.

Fel arch a theulu Noah gynt
  Yn morio 'r cerynt marwol,
Felly mae Arch a theulu Crist
  Ar gefnfor Anghrist bydol.

Mae 'r Llong yn llesg wrth hwylio 'i hynt
Dan bwys y croeswynt creulon,
A chreigiau 'n bwgwth ar bob awr
Ei suddo i lawr yr eigion.

Er hwylio 'n Llong ar hyd ein hoes
Rhwng gwyntoedd croes a chreigiau,
Ein cysur yw fod Crist ei Hun
O'i mewn yn un, fel ninnau.

Dïogel yng nghwmpeini Hwn,
Paham yr ofnwn bellach?
Mae 'i wedd yn angor ffydd ddi baid
A gobaith f' enaid mwyach.

Chwychwi sy 'n llywio Llong ein Duw,
Mor uchel yw eich galwad!
Mae Crist a'i achos yn eich llaw,
Gofelwch lywiaw 'n *wâstad.*[1]

[1] *yn deg.*

Gan bwys y gwynt tymhestlog blin,
Mae 'n Llong ar dorri 'n ddrylliau;
Mae 'n dechreu soddi 'n gyflym iawn,
Mae bron yn llawn gan donnau.

Mae Meistr y gwynt a'r digllon fôr,
Ein Crist a'n Ior yn huno;
Mae 'n cysgu ymhen ol y Llong
A thwrf y donn i'w suo.

O deffro, deffro, Iesu Mawr,
Ystyria 'n ddirfawr gyni;
Bwgwth ein llyngcu mae pob tonn,
A ninnau bron a soddi.

" Gostega, wynt, distawa, fôr,
'Rwyf fi eich Por yn peri,"
Medd Crist,—ac mae tawelwch mawr,
Mae nef a llawr yn ofni.

Ffrwyna lifeiriant tonnau 'r byd
Cerydda 'i enbyd ymchwydd,
O'i ddiluw dwg yn iach i'r lan
Arch d' Eglwys Burlan, Arglwydd.

Rho undeb cariad calon bur
I'w Llywodraethwŷr* amrai,
A gwna hwy 'n ddoeth i'w llywio 'n dda
I'r porthladd a ddymunai.

---

### Y PUMMED SUL GWEDI 'R YSTWYLL.

#### YR OLYNIAD APOSTOLAIDD.

Fy Yspryd yr hwn sydd arnat, a'm geiriau y rhai a osodais yn dy enau, ni chiliant o'th enau, nac o enau dy had, nac o enau had dy had, medd yr Arglwydd, o hyn allan byth. *Esay* 59. 21.

Fel yr anfonodd y Tad Grist,
Anfonodd Crist ei Weision,†
I iawn-drosglwyddo Gair y Groes
O oes i oes olynol.

* Y gair Groeg κυβερνησεις (1 Cor. 12. 28.) a gyfieithir *llywodraethau*, sef Gweinidogion yr Eglwys, a arwydd-occa yn ei ystyr lythyrennol *lywiad neu Gapteiniaeth llongau.*

† Megis y danfonodd y Tad fi, yr wyf finnau yn eich danfon chwi. *St. Ioan* 20. 21.

Enneiniwyd Crist â'r Ysbryd Glân
Yn Ben i'w Burlan Eglwys;
Rhydd Yntau Ef i aelodau hon
Drwy law ei Weision cymmwys.

Disgynai 'r olew ar y Pen
Yn rhith colommen gannaid;
Oddi arno disgyn, ddwyfol rodd,
Ar wisgoedd ei Offeiriaid.*

Traddoda 'r Tad-yn-Nuw y ddawn
O'i law i ffyddlawn ddynion;†
Dont hwythau 'n Dadau, yn eu tro,
Cenhedlaeth o Wein'dogion.

O dad i fab yn ffydd y Groes
O oes i oes olynol,
Trosglwyddir ffurf a rhinwedd llawn
Y Ddwyfol Ddawn Ysprydol.

Brenhinol *Offeiriadaeth* Duw,
O âch a rhyw ysprydol,
Sy *genedl* sanctaidd,‡ Lefi Lân,
I weini 'r tân aberthol.

* Fel yr ennaint gwerthfawr ar y *pen*, yn disgyn ar hyd y farf, sef barf Aaron, yr hwn oedd yn *disgyn* ar hyd ymyl ei wisgoedd ef. *Psalm* 133. 2.

† Y pethau a glywaist gennyf—traddoda y rhai hynny i ddynion ffyddlon. 2 *Tim.* 2. 2. Geilw St Paul Dimotheus "ei *fab* naturiol yn y ffydd." Priodol ynte y gelwir yr Esgobion yn *Dadau yn Nuw*.

‡ Brenhinol *offeiriadaeth, cenedl* sanctaidd. 1 *Petr* 2. 9.

Ni pherthyn Offeiriadaeth Duw
I'th ddwylaw didduw, Corah;*
Paid, gwilia, rhag dy lyngcu 'n fyw,
Cais bardwn Duw, ac ofna.

Oh gwilia gyffwrdd âg Arch Ior,
Paid, Uzzah, mor rhyfygus,†
Rhag ofn i Dduw dy daro i lawr
A'i ddyrnod mawr arswydus.

O chwennych neb Esgobawl swydd
Gwaith da yw 'r swydd mae 'n chwennych;‡
*Drwy 'r Drws* aed iddi, a rhoed ei fryd
Ar weddi ac ympryd mynych.

Pe bait yn Seraph o ran dawn,
I'w gweini 'n llawn o anian,
Nid wyt ond lleidr a 'speiliwr pur,
Os dringaist fur y gorlan.§

* *St. Judas* 11. † 2 *Sam.* 6. 6. ‡ 1 *Tim.* 3. 1.

§ Yr hwn nid yw yn myned i mewn *trwy 'r drws* i gorlan y defaid, eithr sydd yn *dringo* ffordd arall, lleidr ac yspeiliwr yw. *St. Ioan* 10. 1.

## Y CHWECHED SUL GWEDI 'R YSTWYLL.

### Y CRISTION BODDLON.

**Anwylyd, yr awrhon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn. 1 *St. Ioan* 3. 2.**

Nid oes arnaf flys cael gwybod
 Beth a fyddaf yn y nef;
P'un ai distaw fydd fy moliant,
 Ai sain caniad llafar lef;
P' un a adwaenaf y Merthyron,
 Neu 'm cyfeillion, mam a thad,
P' un gaf siarad â'm Gwaredwr
 Am yr Iachawdwriaeth rad.

Mwy dymunol ydyw 'r wawrddydd
 Na'r canolddydd poeth i'r claf;
Harddach blod'yn cynta 'r Gwanwyn
 Na gardd lawn o flodau 'r Haf:
Gwell i minnau 'n awr gael ernes
 Bach o drysor mawr y nef,
Gwel'd rhyw wawr o harddwch Iesu
 Na 'i holl lawn ogoniant Ef.

Digon im' fod fel fy Iesu
 Dan y groes ar hyd fy nhaith;
Ac ni fostiaf am fy mhrofiad
 Wrth y byd na'r Eglwys chwaith.
Boddlon wyf gael yn yr Eglwys
 Ordinhadau Duw a'i Dŷ,
Gan obeithio nad annhebyg
 Fydd y nefoedd iddi fry.

Ond mae hiraeth arnaf weithiau
Am gael myned yno i fyw;
Cael bod gyd â Christ fy Mhrïod
Llawer gwell, 'rwy 'n gwybod, yw:
Mi ddisgwyliaf ddyddiau 'mywyd
Am addewid fawr y nef,
Mi ddisgwylia 'n dawel ddistaw
Nes y'm galwer ganddo Ef.

## SUL SEPTUAGESIMA.

### CREADIGAETH Y BYD.

Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear. *Gen.* 1. 1.

MAE Llyfr y Greadigaeth fawr,
Y nef a'r llawr, yn traethu
Mewn iaith nad yw uwch deall neb
Ddoethineb Duw a'i allu.

Gweithredoedd Duw ymlaen ac ol
Olynol yw 'r dalennau;
I ddarllen Creadigaeth ION
Ysprydol fo 'n calonnau.

Mae 'r Awyr wrth gofleidio 'r byd
A'i braich o hyd yn serchog,
Yn debyg iawn i Gariad Duw
At wael ddynolryw euog.

Mae 'r Lleuad yn ei rhedfa lwys
  Yn ail i'r Eglwys Burlan;*
Mae 'r naill a'r llall yn byw ar wên
  Wyneb eu Haulwen eirian.

Mae Crist yn t'wynnu, fel yr Haul,
  Ar fryn ei araul Sïon;
A'r Saint fel Ser yn hwylio 'u cylch
  O'i amgylch fyth yn gysson.

Mae Saint y nef fel Ser yn nen
  Ffurfafen uwcha 'r Eglwys,
A Saint y ddaear oll yn hardd
  Fel Preniau gardd Baradwys.†

Ffydd yw eu gwreiddyn cadarn byw,
  A Gobaith yw eu blodau;
Gweithredoedd da o gariad Nêr
  Yw aeron pêr eu ffrwythau.

Fe wnaed y Ddaear i ddwyn had
  A llysiau mad a llesol;
Tir da fel hyn bo 'r galon fau
  I ddwyn pob ffrwythau grasol.

* Pwy yw hon a welir fel y wawr, yn dêg *fel y lleuad?* *Can.* 6. 10.

† Y rhai a droant lawer i gyfiawnder a fyddant *fel y ser* byth yn dragywydd. *Dan.* 12. 3. Ac efe a fydd *fel pren* wedi ei blannu ar lan afonydd dyfroedd. *Psalm* 1. 3.

Hi ffrwythai gynt i'n tad a'n mam,
  Doreithion am eu llafur;
Dyged fel hyn fy nghalon wyw
  Ffrwyth cymmwys i'w llafurwŷr.*

Yn nelw 'r Môr a'i ddifeth ddwr,
  Gwel drefn i gadw 'r euog;
Nid môr o drai a llanw budr,
  Ond Môr o wydr sefydlog.†

Gwel Yspryd Duw yn nelw 'r Gwynt
  Anhywel hynt pan chwytho;
Mae Hwn fel yntau 'n chwythu 'r pan,
  Y modd, a'r man y mynno.

Yn llais y Daran groch o'r nef
  Rhydd Duw ei fawrlef allan;
Wrth glywed, cryn y galon fau,
  Ion, d' eiriau yn y Daran.

Ti roist im' lygaid i wel'd gwaith
  Y Cread maith a'i chwilio;
Rho lygaid hefyd, er dy glod,
  I'th ganfod Dithau ynddo.

* Canys y ddaear yr hon sydd—yn dwyn llysiau cymmwys i'r rhai y llafurir hi ganddynt, sydd yn derbyn bendith gan Dduw. *Heb.* 6. 7.

† Ac o flaen yr orseddfainge yr ydoedd *môr o wydr*. *Dat.* 4. 6.

## SUL SEXAGESIMA.

### PECHOD YN AMLHAU, A GRAS YN RHAGOR AMLHAU.

Felly efe a yrrodd allan y dyn, ac a osododd o'r tu dwyrain i ardd Eden, y cerubiaid, a chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd. *Gen.* 3. 24.

Dwys golled i'n galarus fyd,
A thestun galar nef ynghŷd,
  Oedd colli Gwynfa Eden Lân!
Ni buost tithau, Satan, chwaith,
Ddim yn ennillwr yn y gwaith;
  Saith boethach gwnaed dy lyn o dân.

Ond yn y diwrnod tywyll du
Tywynnodd gwawr trugaredd gu,
  Cawsom addewid Had y wraig,
Yr Hwn yn amser Brenhin nef
A ddeuai i lawr o'i fonwes Ef
  I 'sigo 'n ddrylliau ben y ddraig.

Os rhaid i'r wyneb chwysu 'n awr
Wrth ennill bara daear lawr,
  Fe 'i ceir, ond chwysu, gan ein Duw,
Yn ernes y cawn ganddo Ef
Y bwyd na dderfydd, bara nef,
  Os dwys lafuriwn tra bôm byw.*

* Trwy chwys dy wyneb y bwyttêi fara. *Gen.* 3. 19. Llafuriwch nid am y bwyd a dderfydd, ond am y bwyd a bery i fywyd tragywyddol. *St. Ioan* 6. 27.

Melldigodd Duw y ddaear gron,
Ysgall a drain yw cnydau hon,
  A llawn o ffrwythau 'r felldith yw;
Hi ddwg y rhai'n o honi ei hun,
Heb aradr, ôg, na dwylaw dyn,
  Yn gnwd naturiol wrth eu rhyw.

Ond gyd â'r felldith gwelir gras
Ar lysiau gwaetha'r ddaear las,
  O honynt meddyginiaeth gawn;
Sancteiddia Gair ein Duw ei chnwd
I fod i'n cyrph yn faethlon fwyd
  Os gofyn bendith arno wnawn.*

Y wraig oedd gyntaf yn y drwg,
A'r wraig yw gwrthrych penna 'r gwg;
  Plantant mewn poen a gwewyr trist:
Ond cedwir hwy yn ing yr awr,
A chofiant yn eu gofid mawr
  Mai felly ganwyd Iesu Grist.†

Trwy gamwedd un bu farw 'r byd,
Teyrnasodd Angau arno i gyd,
  Yn ol condemniad dedryd Duw;
Ond trwy ufudd-dod Un oedd fwy
Daeth bywyd in' o farwol glwy'
  Ein hanwyl Brynwr, Iesu gwiw.

* Mae pob peth a greodd Duw yn dda,—wedi ei sancteiddio trwy air Duw a *gweddi*. 1 *Tim*. 4. 4, 5.

† Mewn poen y dygi blant. *Gen*. 3. 16. Etto cadwedig fydd wrth ddwyn plant. 1 *Tim*. 2. 15.

O fwytta 'r ffrwyth yn Eden ardd
Daeth ffynnon gwae, a hon a dardd
  I lifo tra parhao chwyth;
Ond ym Mharadwys Eglwys Dduw
Mae Pren y Bywyd nefol ryw,—
  O fwytta hwn cawn fywyd byth.

Heb gerub digllon, cryf ei rym,
Ac heb ysgydwad cleddyf llym,
  Y Pren Bendigaid yno sydd;
Eï ddail i'm clefyd sy 'n iachâd,*
A'i ffrwyth i'm genau 'n ymborth rhad,
  A phrif-ffordd newydd atto 'n rhydd.

Nid ofnaf angau du na 'r bedd,
Os caf ymborthi ar y wledd,
  Pereiddiaf ffrwyth y Bywiol Bren;
Yn ymchwydd yr Iorddonen ddu
Daw Adda 'r Ail, fy Iesu cu,
  Ac uwch ei thonnau deil fy mhen.

* A dail y pren oedd i iachâu y cenhedloedd. *Dat.* 22. 2.

## SUL CWINCWAGESIMA.

### YR ENFYS.

Fy mwa a roddais yn y cwmmwl; ac efe a fydd yn arwydd cyfammod rhyngof fi a'r ddaear. *Gen.* 9. 13.

Ar gefn y cwmmwl tywyll du,
Gwel Noah a'i deulu 'r Enfys;
Tangnefedd Duw a'i gymmod hon
I'w llygaid llon a ddengys.

Fel yr Uchedydd wedi 'r gwlaw
I'r wybren draw yn esgyn,
Eu cân esgynai 'n fawl i Dduw
'N ol gwel'd i'r diluw derfyn.

Yn 'r wybr argraphodd Duw ei Hun,
Ei hedd mewn un llythyren;
Llythyren fawr tangnefedd yw,
Rho ras, fy Nuw, i'w darllen.

Bwa 'r Cyfammod, daccw ef,
Trugaredd nef a'i ffurfiodd;
Bwa 'n cofleidio 'n daear yw,
A dwylaw Duw a'i plygodd.

Groesaw i fwa tân fy Nhad,
Tân cariad sy 'n ei ennyn;
Caredig ddwylaw Hedd a'i gwnaeth,
Mae heb na saeth na llinyn.

Fel ysgol Jacob, â'i dau ben
  Mae 'n uno 'r nen a'r ddaear;
Gwên Haul y nef ar gwmmwl du
  Yw 'r Enfys gu a hawddgar.

Cysgod o Grist, Mab Duw a dyn;
  Efe ei Hun yw 'n Henfys,
Yn uno nef a daear lawr
  Mewn heddwch mawr cariadus.

Rhy gryf yw 'r Haul i'm llygaid pwl,
  Heb gyfrwng cwmmwl Enfys;
Rhy ddisglaer yw Mab Duw ei Hun,
  Ond Mab y dyn a'i dengys.

## DYDD MERCHUR Y LLUDW.

### GALARNAD PECHADUR.

Nid oes iechyd yn fy nghnawd, o herwydd dy ddigllonedd; ac nid oes heddwch i'm hesgyrn oblegid fy mhechod.—O'th flaen di, Arglwydd, y mae fy holl ddymuniad; ac ni chuddiwyd fy uchenaid oddi wrthyt. *Psalm* 38. 3 a 9.

Na thro dy wyneb, Arglwydd glân,
  Oddi wrth un truan agwedd,
Y sydd o flaen dy borth yn awr
  Mewn cystudd mawr yn gorwedd.

Yr wyf yn gorwedd wrth dy ddôr,
  Attolwg egor imi;
Er bod fy muchedd yn ddi rôl,
  'Rwy 'n edifeiriol, gweli.

Na alw mo 'nof fi ger bron
  I roddi union gyfrif;
Yr wy 'n cydnabod, fy Nuw hael,
  Y bywyd gwael oedd gennif.

Nid rhaid i mi addef ychwaith
  Bob enwir waith fu rydost;
Y sut a'r modd yr oedd fy nghlwyf,
  Ac fel yr wyf, ti wyddost.

Ti wyddost sydd yn awr, Dduw cu,
  A'r hyn a fu, yn fanwl;
Ti wyddost hefyd beth a ddaw
  Mae ar dy law Di 'r cwbwl.

Ti wnaethost nefoedd yn un man,
  A daear dan wybrennau;
Ti wyddost beth fydd wedi hyn,
  A pheth oedd cyn y dechrau.

Ac felly fy holl feiau i
  Byth rhagot Ti ni chuddiwyd;
O! Ti a'u gwyddost hwynt i gyd
  Y lle a'r pryd y'u gwnaethpwyd.

Trwy ddeigr hallt y dôf fi, am hyn,
  I erfyn a dymuno;
Megis y bachgen a wnai ddrwg,
  Yn ofni gwg i'w guro.

Felly y deuaf at dy borth
  I ddisgwyl cymmorth ddigon;
Sef dy drugaredd i lanhâu
  Fy holl weliau budron.

Y peth a geisiaf sy rodd wych,
  Nid rhaid mo 'i mynych henwi;
Tydi a'i gwyddost, fy Nuw Gwyn,
  Cyn darfod gofyn itti.

Trugaredd, f' Arglwydd, heb ddim mwy,
  Yw 'r cwbwl 'rwy 'n ei geisio;
Trugaredd yw fy newis lwydd,
  Trugaredd, f' Arglwydd, dyro.*

* Cyfieithwyd y pennillion hyn o'r Saesonaeg gan yr Archdïacon Prys, neu, fel y dywed rhai, gan ei gyfaill William Cynwal.

## Y SUL CYNTAF YN Y GARAWYS.

### Y TEMTIAD A'R YMPRYD.

Yna yr Iesu a arweiniwyd i fynu i'r anialwch gan yr yspryd, i'w demtio gan ddiafol. Ac wedi iddo ymprydio ddeugain niwrnod a deugain nos, ar ol hynny efe a newynodd. *St. Mat.* 4. 1, 2.

Ai temtasiynau 'r gelyn ddyn
  Yw 'r groes sy 'n dilyn Bedydd!
Temtiwyd yn wlyb o'i ddyfroedd glân,
  Gan Satan, ein Gwaredydd.

'Hwn ydyw f' Anwyl Fab,' medd Ion;
  Ac yna 'n union, gwelwch,
Arweiniwyd Ef i'w demtio 'n hir
  O'i Fedydd i'r anialwch.

Gwnaed ninnau 'n blant i'r unrhyw Dad
  Yng ngolchiad y Fedyddfan;
Er hynny 'n temtio wneir o hyd
  Mewn anial fyd gan Satan.

Arweiniwyd Ef gan Yspryd Duw
  O'i Fedydd i'w demtasiwn;
Bedyddiwyd ninnau âg Yspryd nef,
  Ac ynddo Ef gorchfygwn.

Gorchfygodd Iesu ym mhob man
  Ei Elyn dan ymprydio;—
Os temtia Satan neb yn *llawn*,
  Mae 'n debyg iawn o syrthio.

Fe gwympodd Dafydd gynt i fai,
  O'i lawnder a'i esmwythyd;*
Trechodd Mab Dafydd ymgyrch hyf
  Y gelyn cryf mewn ympryd.

Mae 'r union, er cael nefol ras,
  Pan elo 'n fras, yn gwingo;†
Ond cospi 'r corph a'i ddwyn yn gaeth,
  A byla saeth y temtio.

Boed Grawys Sanctaidd Eglwys Ior
  I mi yn dymmor wylo,
Am fy mhechodau mawr diri',
  Mewn gweddi ac ymprydio.‡

* 2 *Sam.* 11. 2.

† Yr union a aeth yn fras, ac a wingodd. *Deut.* 32. 15.

‡ Dychwelwch attaf fi â'ch holl galon, âg ympryd hefyd, ac âg wylofain, ac â galar. *Joel* 2. 12.

## YR AIL SUL YN Y GARAWYS.

### Y PECHOD ANFADDEUOL.

Pan glybu Esau eiriau ei dad, efe a waeddodd â gwaedd fawr a chwerw iawn, ac a ddywedodd wrth ei dad, Bendithia fi, ïe finnau, fy nhad. *Gen.* 27. 34.

Ni chafodd efe le i edifeirwch, er iddo trwy ddagrau ei thaer-geisio hi. *Heb.* 12. 17.

OCH! os modd im', drwy fy mhechod,
  Golli rhagor-freintiau 'r Saint!
Colli bendith fawr fy Medydd,
  Colli 'ngenedigaeth-fraint!
Colli bod yn blentyn Duwdod,
  Colli bod yn aelod Crist!
Colli etifeddiaeth nefoedd,*
  Cael fy nhaflu i uffern drist!

Wedi unwaith fy ngoleuo,
  Wedi profi 'r nefol rodd,
Wedi derbyn dawn yr Yspryd,
  A phechu 'n erbyn hyn o'm bodd,—
Ai ammhossibl f' adnewyddu
  I ail-feddu bendith nef,
Er trwy ddagrau ei thaer-geisio
  Mewn wylofain chwerw lef!†

* —Wrth fy medyddio, pan y'm gwnaethpwyd yn aelod i Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nefoedd. *Y Catecism.*

† Gwel *Heb.* 6. 4. a 10. 26.

Duw, 'rwy 'n addef immi dorri
  Addunedau 'Medydd Glân;
Torrais "lechau fy *Nghyfammod*"
  Ar y llawr yn ddarnau mân;
Ail-addunais ganwaith gwed'yn
  Wrth dy Fwrdd na wnelwn mwy;—
Torri eilwaith bob adduned
  Yn fy nwyd, a'i thorri 'n fwy.

Arglwydd, beth a ddaw o honof!
  Gwanach, wannach yw fy ffydd;
Oh pa beth a ddaw o honof!
  'Rwy 'n caledu nos a dydd:
Cyn yr elo 'n rhy ddiweddar
  Moes im' etto d' Yspryd Glân;
Cyn y cauo drws trugaredd
  Cippia fi o'r gynneu dân.

## Y TRYDYDD SUL YN Y GARAWYS.

### GORCHFYGU AC YSPEILIO SATAN.

Pan fyddo un cryf arfog yn cadw ei neuadd, y mae yr hyn sy ganddo mewn heddwch: ond pan ddêl un cryfach nag ef arno, a'i orchfygu, efe a ddwg ymaith ei holl arfogaeth ef yn yr hon yr oedd yn ymddiried, ac a ran ei anrhaith ef. *St. Luc* 11. 21, 22.

Ha! Satan gryf arfog,
  O'r tonnog lyn tân,
Gorchfygwyd arfogaeth
  D' elyniaeth yn lân;

Daeth arnat un cryfach
  A theccach na thi,
Ein Brawd Iesu Glân,
  O'r un anian a ni.

Cymmeraist bob mantais
  O ddyfais ar ddyn
Yn Eden i'w drechu,
  A'i hawlu dy hun;
Rhoes Iesu bob mantais
  I'th falais, y Fall,
Ond trechodd d' ymgyrchiad
  Heb ffaeliad na phall.

Fe'th welodd, wrth wefus
  Arswydus ei sen,
Fel mellten yn disgyn
  I'r anoddyn o'r nen;
Yn is nag erioed,
  Fab Goleuddwyn y Wawr,*
Disgynaist i'r llyngclyn
  Anoddyn yn awr.

'N ol bwrw 'th ogoniant
  A'th lwyddiant i lawr,
Fe 'i Hun yw Perchennog
  Dy neuadd di 'n awr;
Meddiannodd a rhannodd
  Ef d' anrhaith fawr di,
A'th yspail a wnaeth
  Yn gynnysgaeth i ni.

* Mi a welais Satan megis mellten, yn syrthio o'r nef. *St. Luc* 10. 18.—Goleuddwyn, sef *Luciffer:* Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd, Luciffer, mab y mawr ddydd? *Esay* 14. 12.

Suddai Pharaoh a'i frad
  Yn ymwriad y môr
Fel hyn, wrth ennyniad
  Anadliad ein Iôr;
A'i yspail yngafael
  Yr Israel yn rhan,*
Yn gyfoeth i'r llwythau
  Ar lethrau y lan.

Fel hyn dygwyd plaid
  Y Philistiaid i lawr,
Anaciaid, oedd feibion
  Ac wyrion y cawr;
A Jesus,† pan drechodd,
  Anrhegodd yn rhad
Yn anrhaith i'w luoedd,
  Oludoedd y wlad.

Os ymladd yn erbyn
  Ein Gelyn yw 'n gwaith,
A gwrthladd ei demtiad
  Hyd derfyn ein taith,—
Os ymladd yn nerth
  Ei Orchfygwr a wnawn,
Trwy 'r congcwest a wnaeth,
  Buddugoliaeth a gawn.

* A hwy a yspeiliasant yr Aiphtiaid. *Exod.* 12. 36.

† Jesus—*Josua.* Gwel *Heb.* 4. 8.

## Y PEDWERYDD SUL YN Y GARAWYS.

### TEIMLADAU CREFYDDOL.

**Efe a lefodd, Perwch allan bawb oddi wrthyf. Yna nid arhosodd neb gyd âg ef pan ymgydnabu Joseph â'i frodyr.** *Gen.* **45. 1.**

MAE holl deimladau mwyaf pur
A thyner natur waraidd,
Tristwch, a serch, a chariad llawn,
Yn hynod iawn o wylaidd.

Yn ddirgel mae teimladau pur
Ein natur yn blodeuo,
Fel lili 'r dyffryn;—maent i gyd
Yngwydd y byd yn gwywo.

Nid wylai Joseph lawn ei fron
Yngwydd yr estron Aiphtwŷr;
Nid oedd yn dyst o'i gariad un,
Ond ef ei hun a'i frodyr.

Os trist neu lawen fydd fy mron,
Y galon, *hon* a'i gwybydd;
Nid oes a wnelo 'r dïeithr rai
A'i thristwch na'i llawenydd.*

*** Y galon sydd yn gwybod chwerwder ei henaid ei hun; a'r dïeithr ni bydd gyfrannog o'i llawenydd hi.** ***Diar.*** **14. 10.**

Os traetha f' Arglwydd heddwch im',*
  Ni wnaf er dim ei fostio;
Rhy werthfawr yw cyfrinach Duw,
  Rhy dyner i'w datguddio.

Fe guddiai Dafydd eiriau 'r Ion
  O fewn ei galon felly;†
O fewn ei chalon cadwai Mair,
  Fel trysor, Air yr Iesu.‡

Clyw floedd y dorf a'u trystfawr gri,—
  'Hosanna i Fab Dafydd!'
Wrth farn y golwg, tybio wnawn
  Eu bod yn llawn o grefydd.

Ond aros ronyn;—oera 'r zel,
  Diffodda 'r awel yna;
Gwahanol fory fydd eu llef,—
  'Croeshoelia Ef, croeshoelia.'

'Hosanna!' heddyw yw eu llef,
  'Croeshoelia Ef!' y fory;
Gwers i ti beidio 'mddiried fawr
  I grefydd floeddfawr felly.

* Efe a draetha heddwch i'w bobl. *Psalm* 85. 8.

† Cuddiais dy ymadroddion yn fy nghalon. *Psalm* 119. 11.

‡ A'i fam ef a gadwodd yr holl eiriau hyn yn ei chalon. *St. Luc* 2. 51.

Ni waeddodd, ni ddyrchafodd chwaith
  Ein Crist drwy 'i daith ddaearol;
Yn zel ei waith ni pharodd Ef
  Glywed ei lef mewn heol.*

Duw, dyro grefydd lednais im',
  Heb wneuthur dim yn drystfawr;
Cadw fi rhag y ffrostgar ffydd,
  A rhag y grefydd floeddfawr.

Am nerth dy iechyd mawr bob cam
  I'm cynnal a'm cysuraw,
Yn isel wrth dy draed, os caf,
  Disgwyl a wnaf *yn ddistaw*.†

---

## Y PUMMED SUL YN Y GARAWYS.

### Y BERTH YN LLOSGI.

Ac angel yr Arglwydd a ymddangosodd iddo mewn fflam dân o ganol perth: ac efe a edrychodd, ac wele y berth yn llosgi yn dân, a'r berth heb ei difa. *Exod.* 3. 2.

Bu 'r Eglwys am hirion flynyddau
  Yng nghyffion a rhwymau tir Ham,
Plant Duw o dan Aiphtiaid ysgeler
  Yn goddef pob chwerwder a cham;—

* Ni waedda, ac ni ddyrchafa, ac ni phair glywed ei lef yn yr heol. *Esay* 42. 2.

† Da yw gobeithio a disgwyl yn ddistaw wrth iachawdwriaeth yr Arglwydd. *Galar*. 3. 26.

Y Berth mewn anialwch a chreigiau,
  A'i changau, yn fawr ac yn fân,
Yn cynneu gan oddaith a llosgfa,
  *Er hyn heb ei difa gan dân.*

Er gwaedu 'r Crist'nogion am grefydd,
  Ar grefydd bu 'n gynnydd eu gwaed;
O erlid a lladd y Merthyron,
  Mawr gynnydd ar Sïon a gaed:
Er poethed yw 'r dynion mae 'n gorwedd
  Yn destun eu cabledd a'u cân,*
Mae Perth y wir Eglwys yn para,
  *Er hyn, heb ei difa gan dân.*

Er heresi waeth nag erlidwŷr,
  Er cynllwyn gau frodyr o frad,
Mae 'n fyw, er yn wan, drwy drugaredd,
  'Does diwedd i'w rhyfedd barhâd:
Mae Angel ein Duw yn ei chanol,
  Yr Yspryd Trag'wyddol a Glân,
Fe 'i ceidw hi 'nghanol y llosgfa
  *Rhag byth gael ei difa gan dân.*

Tro, f' enaid, i edrych mewn syndod
  Ar hynod ryfeddod mor fawr;
Yngŀanol anialwch mor ddiffaith
  Mae cysur, mae gobaith, mae gwawr:
Mae 'r Angel i'r Berth yn Waredydd,
  A hyn yn ein cystudd yw 'n cân;
Fe 'i ceidw hi 'nghanol y llosgfa
  *Rhag byth gael ei difa gan dân.*

* Gorwedd yr wyf ym mysg dynion poethion. *Psalm* 57. 4.

## SUL Y BLODAU.

### YMRODDIAD CRIST I DDIODDEF.

A phan ddaethant i le a elwid Golgotha, yr hwn a elwir Lle 'r benglog, hwy a roisant iddo i'w yfed finegr yn gymmysgedig â bustl; ac wedi iddo ei brofi, ni fynnodd Efe yfed. *St. Mat.* 27, 33, 34.

AI ni chymmeri, Iesu, 'n awr,
Yn syched mawr dy angau,
Ddim llymmaid bach o'r finegr sur
I leddfu cur dy boenau?*

'Raid it' gael dioddef eitha 'r Groes,
A min ei duloes chwerwaf,
Arteithiau dyn, a gwg y Tad,
Heb y llinariad lleiaf?

Mae trugarhâu wrth lwch y llawr
Yn bleser dirfawr itti,
Ond trugarhâu wrthyt dy Hun
Wrth brynu dyn ni fynni!

Os mynnit yn yr ardd, gan ofn,
Droi 'r gwppan chwerw-ddofn heibio,†
Yfed a fynni 'n awr y llid
Bob dafn i gyd o hono.

* Arferid rhoi 'r ddïod hon i ddrwg-weithredwŷr i leddfu poen y croeshoeliad.

† Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwppan hwn heibio oddi wrthyf. *St. Mat.* 26. 39.

Gwelaist o fonwes nefoedd wen
  Holl boen y Croesbren chwerwa';
O'th fodd y doist oddi yno i lawr
  Er mwyn yr awr honyma.*

O! gariad anorchfygol nef,
  A'i fflam yn gref yn llosgi;
Ni's gall Iorddonen angau llym
  Ddiffodd ei rym na'i foddi.†

Yn lle lleihâu ac oeri gwres
  Serch monwes bur ein Ceidwad,
Wrth ddwyn y Groes yr oedd pob cam
  Yn ennyn fflam ei gariad:

Ac ni ddiffoddodd ar y Groes
  Er marw ei einioes yno;
Yr un, ar ddeheu law ei Dad,
  Yw serch ei gariad etto.

* O herwydd hyn y daethum i'r awr hon. *St. Ioan* 12. 27.

† Dyfroedd lawer ni allant ddiffoddi cariad, ac afonydd ni's boddant. *Caniad.* 8. 7.

## DYDD LLUN O FLAEN Y PASG.

### Y WRAIG YN ENNEINIO CRIST.

Ac efe yn eistedd i fwytta, daeth gwraig a chanddi flwch o ennaint o nard gwlyb gwerthfawr; a hi a dorrodd y blwch, ac a'i tywalltodd ar ei ben ef. *St. Marc* 14. 3.

MAE traul yr ennaint, werthfawr rodd,
A'i bris, wrth fodd yr Iesu;
Po druttaf, gorau 'r prawf fod hon
O'i chalon yn ei garu.

Paid digalonni, wraig dylawd,
Er goddef gwawd a cherydd
Am dywallt nard mor ddrud ei werth
Yn aberth ar dy Brynydd.*

Mae llawer Judas fawr ei fost
Wrth weled cost duwiolion
At Gorph, sef Eglwys, Iesu 'n awr,
A'i serch yn fawr at dlodion!!

Offrymmodd Iesu yn ddi brin
Ei fywyd i'n gwaredu;
A feiddiwn ni, mewn crintach frad,
Roi offrwm rhad i'r Iesu?†

* Am hynny y dywedodd—Judas Iscariot,—Pa ham na werthwyd yr ennaint hwn er tri chan cheiniog a'i roddi i'r tlodion? *St. Ioan* 12. 4, 5.

† Nid offrymmaf i'r Arglwydd fy Nuw boeth-offrymmau rhad. 2 *Sam.* 24. 24.

Oh nac abertha 'r dall a'r cloff
  I Grist, nid hoff yr aberth;*
Tywalltodd Ef ei Waed yn lli
  Dros d' einioes di yn bridwerth.

Er nad yw, am a roddodd im',
  Ond gwael un dim a dalwyf,
Ad-dalaf iddo yn ddi goll,
  Fy hun a'r holl a feddwyf.

Mewn hyder ffydd derbyniaf fi
  Ei ras i mi a'i ddoniau;
Fe dderbyn Yntau, am ei waith,
  Fy rhodd ammherffaith innau.

Canmola 'r 'Fengyl drwy 'r holl fyd
  Y wraïg a'i drud gymmwynas;†
Cyhoeddir hefyd, gyd â hon,
  Gybydd-dod calon Judas.

* Os offrymmu 'r ydych y dall yn aberth, onid drwg hynny? ac os offrymmwch y cloff a'r clwyfus, onid drwg hynny? Cynnyg ef yr awrhon i'th dywysog, a fydd efe boddlon it'? *Mal.* 1. 8.

† Pa le bynnag y pregether yr Efengyl hon yn yr holl fyd, yr hyn a wnaeth hon hefyd a adroddir, er coffa am dani. *St. Marc* 14. 9.

## DYDD MAWRTH O FLAEN Y PASG.

### Y SAINT YN GYFRANNOGION O DDIODDEFIADAU CRIST.

A hwy a gymhellasant un Simon o Cyrene, yr hwn oedd yn myned heibio, wrth ddyfod o'r wlad, sef tad Alexander a Ruffus, i ddwyn ei groes Ef. *St. Marc* 15. 21.

Mae 'th ddillad Iesu, 'n goch i gyd,
Mae 'th wisg yn waedlyd drosti;*
Os cyffwrdd â dy wisg a wnawn,
A'i gwaed ni gawn ein nodi.

Os dioddef wnaeth Pen-athraw nef,
Ca 'r disgybl ddioddef yntau;
Ym mhoenau 'r Pen a'i gystudd Ef
Cyd-ddioddef wna 'r aelodau.

Ym Methle'm gynt, am eni Crist,
Clyw'd ochain athrist fammau;
Fe fu ei enedigaeth Ef
I blant y dref yn angau.

Bu Ef ar hyd y wlad yn dlawd,
Yn goddef gwawd gelyniaeth;
Ca'dd ei ddisgyblion ffyddlon ryw,
Eu rhan o'r unrhyw driniaeth.

* Pwy yw hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bosrah? *Esay* 43. 1.

Ce'st tithau, Simon, deimlo hyn,
  Wrth ddringo bryn Calfaria;
Ce'st ran o'i warth, a rhan o'i loes,
  Wrth ddwyn ei Groes sancteiddia'.

Rhaid yw i ninnau ddwyn ei Groes
  Bob dydd o'n hoes heb beidio,
Os mynnwn fod o galon bur
  Yn wir ddilynwŷr iddo.*

Dioddefodd Pen y Corph heb goll,
  Ond nid ein *holl* ofidiau;
Gadawodd Ef o honynt ran
  Yn gyfran i'w aelodau.

Cyflawni 'r hyn sy 'n ol o drist
  Gystuddiau Crist a'i boenau,†
Yw gorau nod a phennaf fraint
  Ei gywir Saint hyd angau.

Cyd-ddioddef gyd â'm Iesu 'n awr
  A fo fy mawr ragor-fraint,
A chael ei 'nabod Ef yng ngras
  Cymdeithas ei ddioddefaint.‡

* Os ewyllysia neb ddyfod ar fy ol i, ymwaded âg ef ei hun, a choded ei groes *beunydd*, a dilyned fi. *St. Luc* 9. 23.

† Yr hwn ydwyf yn awr yn llawenychu yn fy nïoddefiadau drosoch, *ac yn cyflawni yr hyn sydd yn ol o gystuddiau Crist yn fy nghnawd i.* Col. 1. 24.

‡ Fel yr adnabyddwyf ef, a grym ei adgyfodiad ef, *a chymdeithas ei ddïoddefiadau ef.* Phil. 3. 10.

Crist, gwna fi 'n debyg it' dy Hun,
  Dan groes yn un o'th dylwyth,
A gwared fi rhag rhodio 'n rhydd
  Dan wae y grefydd esmwyth.*

## DYDD MERCHUR O FLAEN Y PASG.

### Y SWPPER DIWEDDAF.

Ac wedi iddo gymmeryd bara, a rhoi dïolch, Efe a'i torrodd, ac a'i rhoddes iddynt, gan ddywedyd, Hwn yw fy nghorph yr hwn yr ydys yn ei roddi drosoch: gwnewch hyn er coffa am danaf. Yr un modd y cwppan hefyd wedi swpperu, gan ddywedyd, Y cwppan hwn yw 'r testament newydd yn fy ngwaed i, yr hwn yr ydys yn ei dywallt drosoch. *St. Luc* 22. 19, 20.

Pa fodd y dichon Hwn eiu Brawd
  Roi in' ei Gnawd yn lluniaeth?†
Yw cwestiwn balch y dyn di gred,
  Iaith galed anghrediniaeth.

Crist, gwna fi 'n ostyngedig iawn
  I gredu 'n llawn dy eiriau;
Heb wrando dim ar reswm dyn,
  Pan safo 'n erbyn d' enau.

* Gwae y rhai *esmwyth* arnynt yn Sïon. *Amos* 6. 1.

† Pa fodd y dichon Hwn roddi i ni ei gnawd i'w fwytta? *St. Ioan* 6. 52.

" Y mae fy Nghnawd yn fwyd yn wir,
" A'm Gwaed yn wir sy ddïod,"
Yw 'th eiriau nefol am y Wledd
Sy 'n llawn o hedd a chymmod.

Yng nghorph anianol Adda 'n tad,
Collasom wlad dedwyddyd;
Ond Corph Ysprydol Adda 'r Ail
Yw ffun a sail ein bywyd.*

I'm henaid tlawd mor llawn o ras
Yw 'r Aberth bras pasgedig!
Mor felus odiaeth yw i'm min
Y gloyw Win puredig!†

Fel torthau 'r pedair mil heb ball
Yn llenwi gwall cynnifer,
Felly mae gwledd Corph Crist, trwy ffydd,
Ar gynnydd, er ei harfer.

Fel blawd ac olew 'r weddw dlawd,
Pery 'n ddiandlawd ymborth
I'n nerthu yn ein nefol waith,
Ac ar ein taith i'n cymmorth.

Gyfeillion, deuwch oll i'r wledd,
Mae Brenhin hedd yn gwahodd;
Dowch at ei allor; mawr ei werth
Yw 'r Aberth a ddarparodd.

* Yr Adda diweddaf *yn yspryd yn bywhâu.* 1 Cor. 15. 46.

† Gwledd o basgedigion, gwledd o loyw win; o basgedigion breision a gloyw win puredig. *Esay* 25. 6.

Ond cofiwch wrth y Bwrdd yn llu
  Iawn-farnu Corph yr Arglwydd;
Heb hyn ni fydd y bwytta i gyd
  Ond barn ac enbyd dramgwydd.*

### DYDD IOU O FLAEN Y PASG.

#### MADDEUANT.

A'r Iesu a ddywedodd, O Dad, maddeu iddynt; canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur. *St. Luc* 23. 34.

NID oes, heb ollwng gwaed yn lli,
  Faddeuant i bechadur;
Ni faddeu Duw ein bai heb hyn,
  Ni's gall, ni fyn, ei natur.

Ond wele 'i Fab ar Bren y Groes
  Yn dioddef loes marwolaeth,
I agor ffordd Maddeuant llawn
  Drwy Waed ei Iawn ehelaeth.

Ynghanol ei arteithiau dwys
  Dan eithaf pwys ein beiau,
O clywch E 'n erfyn ar ei Dad
  Yng ngrym ei gariad, faddau.

* Yr hwn sydd yn bwytta ac yn yfed yn annheilwng, sydd yn bwytta ac yn yfed barnedigaeth iddo ei hun, *am* nad yw yn iawn-farnu corph yr Arglwydd. 1 *Cor.* 11. 29.

Cyn rhoddi i fynu 'r yspryd pur,
  Dan bwys ei gur angeuol,
Mae 'n dadleu drosom yn ei loes,
  Ac ar y Groes yn eiriol.

Maddeuant rhȧd a llawn a gaed
  Trwy rinwedd Gwaed y Cymmod;
I aflan ddyn caed golchiad gwir,
  A heddwch i'r gydwybod.

Drwy haeddiant Hwn caf etto fyw,
  Er cynddrwg yw fy mhechod;
O Iawn y Groes fe geir yn hael
  I'm henaid gwael Ollyngdod.

Os bu marwolaeth Un Mab Duw
  Yn heddwch i'w elynion,
Bydd, lawer mwy, ei fywyd gwiw
  Yn wynfyd i'w gyfeillion.*

O! boed y gras oedd yn ei fron,
  Yn llenwi 'm calon innau
At fy ngelynion yn ddi goll
  I'w caru oll a maddau.

* Os pan oeddym yn elynion, y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef, mwy o lawer wedi ein heddychu, y'n hacbubir trwy ei fywyd ef. *Rhuf.* 5. 10.

## DYDD GWENER Y CROGLITH.

### ANGAU 'R GROES.

Yr hwn ei hun a ddug ein pechodau ni yn ei gorph ar y pren. 1 *Petr* 2. 25.

O! ryfedd Ddydd o d'wyllwch du,
Yn gymmysg â goleuni cu,
I'w gofio 'n llawen ac yn brudd;
Dydd machlud Haul Cyfiawnder mawr
Dan gaerau 'r tywyll fedd i lawr,
I godi fore 'r trydydd dydd.

Gwel wg ei Dad yn gwmmwl du
Yn llethu enaid Iesu cu,
A'i gorph yn gwaedu ar y Pren;
Ar daliad llawn yr Aberth drud,
Gwel dduo 'r haul, a siglo 'r byd,
Clyw hollti 'r graig, a rhwygo 'r llen.*

"Gorphennwyd!" O! fendigaid lef!
Gorphennwyd agor teyrnas nef,
Gorphennwyd talu Dwyfol Iawn;
Seinir y fuddugoliaeth hon
Drwy holl eithafoedd daear gron,
A'r byd o'i bendith fydd yn llawn.

Dan boenau corph neu feddwl trist,
Wrth gofio ing annhraethol Crist,
Ni feiddiaf rwgnach ddim yn hwy;

* A'r haul a dywyllwyd, a llen y deml a rwygwyd yn ei chanol.—A'r ddaear a grynodd, a'r meini a holltwyd. *St. Luc* 23. 45. *St. Mat.* 27. 51.

Erioed heb haeddu teimlo poen,
Etto 'n ddirwgnach fel yr oen
  Dioddefodd Iesu ganmil mwy.

Ymaflaf, Arglwydd, yn dy Groes,
Ac a'i cofleidiaf drwy fy oes
  Yn fywyd ac yn goron im';
Yng ngrym ei rhinwedd teithio wnaf,
Drwy 'r byd i'm nefol gartre 'r âf,
  Drwy angau a'r bedd heb ofni dim.

## NOS BASG.

### CRIST YN UFFERN.

Wedi ei farwolaethu yn y cnawd, eithr ei fywhâu yn yr yspryd: trwy 'r hwn yr aeth Efe hefyd ac a bregethodd i'r ysprydion yngharchar. 1 *St. Petr* 3. 18, 19.

A dyma 'r fan, fy Iesu Mawr,
  Yr wyt, yn llawr y ceufedd,
Yn cadw noswyl wedi 'th waith,
  Mewn beddrod llaith yn gorwedd!

Mae 'r genau fu 'n bendithio 'r byd,
  Yn awr yn fud ddilafar;
Y traed yn rhwym, a'r dwylaw cu
  Gan angau du yngharchar.

O! gad im' wylo wrth dy fedd,
  Ynghyd â'r gwragedd sanctaidd,
A gad i'm dagrau olchi 'n awr
  D' anwyl-gorph gwerthfawr peraidd.

I b'le dïangodd d' yspryd pur,
  Ar ol dy lafur trymmaf,
Pan roist e' i fynu ar y Groes
  'N ol diodde 'r loes ddiweddaf?

Ai draw i'r anweledig fyd,—*
  Lle 'r saint i gyd-orphwyso,
I draethu 'r adgyfodiad mawr
  I'w cyrph o'r llawr a'r amdo?

Bywiogwyd yr ysprydion pur
  Wrth bregeth eglur Iesu,
Fod iawn am fai pechadur gwael
  Oll newydd gael ei dalu.

Pan elwyf draw o'r ddaear hon
  I fyd ysprydion 'r Eglwys,
Crist, os caf huno ynot Ti,
  Bydd hwnnw i mi 'n Baradwys.

Disgwyliaf yno mewn cref ffydd
  Nes delo dydd rhagorach,—
Pan bryner y corph mau o'r bedd,†
  I wlad o wledd felusach.

* *Uffern*. Ni adewi fy enaid yn *uffern*. *Psalm* 16. 10. Gwel hefyd *Act*. 2. 31.—Dywed y Credo i Grist ddisgyn i *uffern*. Ystyr y gair *uffern* (αδης) yn y lleoedd hyn yw, *y byd anweledig*, lle mae 'r enaid ar wahân oddi wrth y corph, o angau hyd yr adgyfodiad.

† Gan ddisgwyl y mabwysiad, sef prynedigaeth ein corph. *Rhuf*. 8. 23.

## DYDD PASG.

**Yr Iesu hwn a gyfododd Duw i fynu.** *Act.* 2. 32.

MIL henffych, foreuddydd gogoned,
  Mae 'n hoff gennym weled dy wedd,
Y dydd y daeth corph ein Hanwylyd
  Heb lygriad i'r bywyd o'r bedd:
Gogoniant holl flwyddyn y Cristion,
  A'i choron, ddydd tirion, wyt ti;
Mae 'th lewyrch yn troi, mewn llawcnydd,
  Pob Sul yn Basg newydd i ni.

Cyweiria, fy nhelyn, i'm Ceidwad
  Dy ganiad ar dorriad y dydd;
Deffroed yn foreuach dy dannau
  Na'r 'Hedydd hoff enau, mewn ffydd:
Prif destun melusaf y nefoedd
  Sydd heddyw yn gwahodd dy gân;
Ennyned y testun bendigaid
  Dy Awen drwy d' enaid yn dân.

O'r ymdrech mewn llawn fuddugoliaeth
  Daeth heddyw ein Pennaeth heb ball;
Ysigodd ben Satan ein gelyn,
  A maeddodd holl fyddin y fall:
Aeth Iesu yn angau i angau,
  Gorchfygodd ei boenau, a'r bedd;
Gorphennwyd y rhyfel dros Sïon,
  Mae heddyw yn hinon o hedd.

Pa'm bellach yr ofnaf farwolaeth?
  Pa'm bellach yr ofnaf y bedd?
Cyssegrodd yr Iesu 'm tŷ olaf,
  Yn hwnnw mi hunaf mewn hedd:
Ryw fore, fel f' Arglwydd a'm Ceidwad,
  Caf finnau gyfodiad i fyw
Mewn tŷ o adeilad ysprydol
  Trag'wyddol a nefol fy Nuw.

Wedi codiad yr haulwen i'r entyrch,
  Adlewyrch o'i lewyrch â i lawr,
Argrephir ei ddelw hyfrydlon
  Ym môr ac yn afon yn awr;
Fel hyn mae Cyfodiad ein Prynydd
  I ddyfroedd y Bedydd heb wâd,
Ei effaith a'u gwna hwy 'n rhinweddol,
  Trwy ffydd, er achubol iachâd.*

* Cyffelybiaeth cyfattebol i'r hwn sydd yr awrhon yn ein *hachub* ninnau, sef Bedydd—*trwy adgyfodiad Iesu Grist*. 1 Petr 3. 21.

## DYDD LLUN PASG.

### Y DDAU DDISGYBL YN MYNED TU AG EMMAUS.

**A hwythau a adroddasant y pethau a wnaethesid ar y ffordd, a pha fodd yr adnabuwyd Ef ganddynt wrth dorriad y bara. *St. Luc* 24. 35.**

HENFFYCH, chwi ddau ddisgyblion trist,
Nid pell yw 'r Crist a goll'soch;
Er colli 'ch golwg ar ei bryd,
Mae parth o'i Yspryd arnoch.

Yn ddïarwybod yn eu tai
Llettyodd rhai angylion;
Lletteu'soch chwi, heb wybod pwy,
Un llawer mwy ei Berson.

Yn fwyn dygasoch gyd â chwi
Un dïeithr dibreswylfod;
A'ch gwobrwy oedd mai Crist ei Hun
Oedd y Dïeithr-ddyn hynod.*

Gristion, llettya 'r dïeithr tlawd,
Dod iddo gardawd addas,
A mawr a fydd y wobr a gei,—
I Grist y gwnei 'r gymmwynas.†

*** Bum ddïeithr, a dygasoch fi gyd â chwi. *St. Mat.* 25. 35.**

**† Yn gymmaint a'i wneuthur o honoch i un o'r rhai hyn fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch. *St. Mat.* 25. 40.**

Er colli gwedd yr Iesu 'n hir,
  Os rhodi dir dyledswydd
Mewn cariad perffaith, fel y ddau,
  Cei dithau weled d' Arglwydd.

Pan fethych 'nabod, er dy gais,
  Na gwedd na llais dy Geidwad,
Ar dorriad Bara pur y nef
  Ail-egyr Ef dy lygad.*

Lle bynnag byddo dau neu dri
  Yn cyd-ymborthi 'n dduwiol
Ar Fanna 'r nef mewn anial dir,
  Mae yno 'n Wir-bresennol.

Nesâ at Fwrdd Tywysog hedd,
  I nefol wledd y seintiau;
Swppera gyd â thi bob pryd,
  A thithau gyd âg Yntau.†

Ac os diflannu wed'yn wna
  O'th wydd, tyr'd yma eilwaith;‡
Fe ail-ymddengys, ac fe rydd
  Ail rym i'th ffydd a'th obaith.

* Eu llygaid hwynt a attaliwyd fel na's adwaenent ef. —A'u llygaid hwynt a agorwyd, a hwy a'i hadnabuant ef. *St. Luc* 24. 16 a 31.

† Mi a ddeuaf i mewn atto ef, ac a swpperaf gyd âg ef, ac yntau gyd â minnau. *Dat.* 3. 20.

‡ Ac efe a ddiflannodd allan o'u golwg hwynt. *St. Luc* 24. 31.

## DYDD MAWRTH PASG.

### ADGYFODIAD Y SAINT.

Eithr yn awr Crist a gyfodwyd oddi wrth y meirw, ac a wnaed yn flaen-ffrwyth y rhai a hunasant. 1 *Cor.* 15. 20.

WELE flaen-ffrwyth y Cynhauaf
  Wedi cyrraedd adre 'n awr,
Wele Ysgub y cyhwfan,
  Ffrwyth pereiddiaf daear lawr;*
Ernes yw i'n ffydd a'n gobaith,
  Gwystyl sicr y daw cyn hir
Holl gynhauaf llafur Iesu
  Adre 'n llawn i'r nefol dir.

Paid ag ofni 'r bedd nac angau,
  Gristion, mae dy Iesu 'n fyw;
Ar ei Gnawd a'i Waed ymborthaist,
  Lluniaeth anfarwoldeb yw:†
Hûn fydd d' angau, nid marwolaeth,
  Ni fydd d' angau ond ei lun;
Deffry Crist di 'r dydd diweddaf
  Ar ei ddelw hardd ei Hun.

* Pan ddeloch i'r tir a roddaf i chwi, a medi o honoch ei gynhauaf, yna dygwch *ysgub blaen-ffrwyth* eich cynhauaf at yr offeiriad; *cyhwfaned* yntau yr ysgub ger bron yr Arglwydd. *Lef.* 23. 10, 11.

† Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sy ganddo fywyd tragywyddol; ac mi a'i hadgyfodaf ef yn y dydd diweddaf. *St. Ioan* 6. 54.

Daw angylion nef y nefoedd
  Yna i lawr yn dyrfa lân,
Dan addoli gwedd y Barnwr,
  Oll o'i gylch fel cwmmwl tân,
Oll i'th hebrwng mewn gorfoledd
  Fry drwy 'r awyr draw i'r nef,
Lle cei byth fod yn eu cwmni,
  Lle cei byth fod gyd âg Ef.

## Y SUL CYNTAF GWEDI 'R PASG.

### GWEINIDOGION CRIST YN WEINIDOGION Y GROES.

Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddangosodd iddynt ei ddwylaw a'i ystlys.—Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt drachefn, Tangnefedd i chwi; megis y danfonodd y Tad fi, yr wyf finnau yn eich danfon chwi. *St. Ioan* 20. 20, 21.

Ewch, ewch yn hyf, Genhadon hedd,
  Daeth Crist o'r bedd i'ch danfon;
Mae ei awdurdod yn eich llaw,
  Nac ofnwch fraw 'ch gelynion.

Os gwrendy 'r byd ar leisiau gau
  Cenhadau heb eu hanfon,
Ar wir Genhadon Iesu Glwys
  Y gwrendy 'r Eglwys ffyddlon.*

* Y defaid sydd yn ei ganlyn Ef.—Ond y dïeithr ni's canlynant, eithr ffoant oddi wrtho. *St. Ioan* 10. 4, 5.

Prif effaith y pregethwr gau
  Yw boddio nwydau natur,
Trwy danio a chynhyrfu 'n llwyr
  Deimladau gŵyr pechadur.

Ond ffrwynwch *chwi* deimladau 'r oes
  Dan iau a Chroes eich Priod;
Caethiwwch, Weinidogion Duw,
  Bob meddwl i'w ufudd-dod.

Wrth ddanfon ei Genhadon hedd,
  A dweyd "Tangnefedd" wrthynt,
Dangosodd ôl y waew ffon
  Ac ôl yr hoelion iddynt.

Yngolwg ôl y waew ffon,
  Ac ôl yr hoelion gwaedlyd,
Cyhoeddwch gennadwri 'r Ffydd
  Tra paro dydd eich bywyd.

Y Groes a Christ ar hyd eich oes,
  A dwyn y Groes i'w ddilyn,
Y Groes a ddygwyd er ein mwyn,
  A'r Groes i'w dwyn,—fo'ch testun.

Wrth i chwi 'ch hunain ddwyn y Groes
  Ar hyd eich oes, a'i hoffi,
Y llwydda 'n oreu bregeth Hon
  I ennill dynion dani.

## YR AIL SUL GWEDI 'R PASG.

### Y BUGAIL DA.

Myfi yw 'r Bugail da. *St. Ioan* 10. 11.

YN llawn o serch o'r nef i lawr
  Daeth Bugail Mawr yr enaid;
Yn aberth llawn o'i fodd fe roes
  Ei einioes dros y defaid.

O gorlan nef er colli dyn,
  Daeth Duw ei Hun i'w geisio,
I'w gadw a'i ddwyn yn ol o'i fai,
  I'w borthi a'i fugeilio.

Crwydrais ymhell o Dŷ fy Nhad,
  Fel dafad wedi colli,
I wlad lle nad oedd dim i'w gael
  Ond cibau gwael i'm porthi.

O Fugail Israel, cais dy was
  O feusydd atgas Satan,
A dychwel f' enaid llwm yn ol
  I'th welltog ddôl dy Hunan.

Dychwel y rhai fu 'n crwydro 'n hir
  Yn afiach "Dir 'Neillduaeth;"
O! dwg hwy 'n ol drwy rym dy ras
  I'th borfa fras ehelaeth.

Duw, maddeu i'r bugeiliaid gau
Sy fyth yn hau anghydfod,
I yrru praidd dy Yspryd Glân
O'th gorlan ar ddisperod.

Mae 'r praidd yn dôd o ddydd i ddydd
O'u rhwydau 'n rhydd ddïangol,
A'r gau fugeiliaid i'r rhai gwir
Yn colli tir yn raddol.

Ceir gwel'd cyn hir y praidd yn byw
(A Gweision Duw i'w harail)
Oll mewn un gorlan yn gyttûn
Dan nod yr Un Pen-Bugail.

---

### Y TRYDYDD SUL GWEDI 'R PASG.

#### FY RHIENI.

Anrhydedda dy dad a'th fam. *Exod.* 20. 12.

Pwy wyliodd fy mabandod gwan?
Pwy 'm noddodd pan yn ddinerth?
Pwy er fy mwyn fu fore a nawn
O'u bodd yn llawn o drafferth?

Pwy ddysgodd i'm gwefusau bach
Ddwe'yd "Iesu" 'n groewach beunydd?
Pwy soniodd wrthyf gynta 'rioed
Y rhoed i ddyn Waredydd?

Pwy ddysgodd immi 'r weddi fer,
  Cyn deall hanner honno?
Yr oedd y weddi fach ddi nerth,
  Er hynny 'n werth ei chofio.

Ar liniau pwy, 'n ol methu 'n hir,
  Y dysgais Weddi 'r Arglwydd?
Pwy ddysgodd im', cyn gwybod pa'm,
  Fy Nghredo a'm Dyledswydd?

Ac yn llaw pwy, a'm camrau 'n fân,*
  Y cerddais gynta 'n raddol
I'r Eglwys, i gael didwyll laeth
  Ei phur Wasanaeth nefol?

Pwy ddysgodd im'—ond pallai f' oes—
  Pe rhoid hir einioes immi,
I draethu 'n llawn, ni fedrwn ddim,
  Fy rhwymau i'm RHIENI.

Rhôf bob ufudd-dod hyd y bedd,
  Rhôf bob anrhydedd iddynt;
Ni's gallaf dalu 'n llawn tra bwyf,
  Er gwneud a allwyf erddynt.

Os gelyn cas a gynnyg gam
  I'm tad neu 'm mam anwylgu,
Hyd farw eu hamddiffyn wnaf,
  A nerth a gaf i'w helpu.†

* Dextræ se parvus Iulus
Implicuit, sequiturque patrem non passibus æquis.
VIRG.

† Ni's gwaradwyddir hwy pan ymddiddanant â'r gelynion yn y porth. *Psalm* 127. 5.

Os syrthiant i dylodi dwys,
  Nid baich na phwys y tybiaf
Eu porthi 'n anwyl wrth eu rhaid
  A rhan o'm tammaid olaf.

Os llesgedd a hir oes a'u gwnant
  Yn weinion blant yr eiltro,
Mi fyddaf finnau ar bob cam
  Yn dad a mam i'w gwylio.

Os digwydd yn amddifad im'
  Drwy angau llym eu colli,
Boed Duw a'i Eglwys ar bob cam
  Yn Dad a Mam i'm noddi.

Dymunwn gael, mewn tawel hedd,
  Yngwaelod bedd eu cwmni;
I orphwys rhoer fy mhen yn nes
  Ar fonwes fy RHIENI.*

* Fel y byddwyf marw yn fy ninas fy hun, ac fel y'm cladder ym meddrod fy nhad a'm mam. 2 *Sam.* 19. 37.

## Y PEDWERYDD SUL GWEDI 'R PASG.

### FFYDDLONDEB DUW.

**Gwybydd gan hynny mai 'r Arglwydd dy Dduw sy Dduw, sef y Duw ffyddlon, yn cadw cyfammod a thrugaredd â'r rhai a'i carant ef, ac a gadwant ei orchymynion, hyd fil o genhedlaethau. *Deut.* 7. 9.**

RHOF lawn ymddiried yn fy Nuw,
Mae 'n ffyddlon i'w gyfammod;
Barn gywir a chyfiawnder glân
Yw trigfan ei breswylfod.

Er im' yn aml droseddu 'n gas,
Heb gofio 'i ras na 'i allu,
Mae ei drugaredd hyd y nef,*
Ni'm rhoddodd Ef i fynu.

Daeth yma 'n Ddyn o'r nef i fyw,
Yn Ddyn a Duw Cyfryngol,
I ddangos ffyddlon serch y Tad
Mewn dull a theimlad dynol.

Er cael ei wrthod gan bob rhai,
Ei geraint a'i elynion,
Er gwawd ei bobl ei hun a'r byd,
Parhaes o hyd yn ffyddlon.

*** Dy drugaredd, Arglwydd, sydd hyd y nefoedd. *Psalm* 36. 5.**

Ni bu 'r disgyblion, er eu dawn,
  Oll ddim yn ffyddlawn iddo;
Yn nhŷ ei garedigion cai
  Ei glwyfo a'i ofidio.

Pan ddaeth y swyddwŷr creulon fryd
  I'r ardd i ymaflyd ynddo,
Oh! daccw 'u cefnau arno 'n troi,
  Maent oll yn ffoi oddi wrtho.

Ond etto i bregethu hedd
  Aeth Ef o'r bedd i'w canol;
Nid oerodd gwawd, na phoen, na brad
  Mo fflam ei gariad nefol.

Ffyddlondeb mawr ei gariad Ef
  A'i dug o'r nef hyd attom;
Ffyddlondeb a'i dug yno 'n ol
  O'r byd i eiriol drosom.

'N ol esgyn mewn mawreddus fri,
  Ni's gadodd ni 'n amddifaid;
Diddanydd arall (gwell in' yw)
  Anfonodd i'w ffyddloniaid.

Mi rôf fy hunan iddo 'n llwyr,
  Yn dda fe ŵyr f' anghenion;
Fy niffyg oll cyflawna dawn
  Ei ffyddlawn addewidion.

## Y PUMMED SUL GWEDI 'R PASG.

*(SUL Y GWEDDIAU.)*

### GWYLDER FFYDD.

Y pethau hyn a leferais wrthych mewn damhegion. *St. Ioan* 16. 25.

PAID, gochel, ddyn rhyfygus hyf,
Yspïo 'n rhy fanyl-graff
I ddyfnion eiriau 'r uchel Dduw,
Ysprydol yw eu hargraph.

Nac edrych byth i mewn i'r arch,
Ond gyd â pharch ac arswyd;
Cofia Beth-semes a'i dydd du
A'i phobl yn llu a laddwyd.*

Credu yw dy ddyledswydd di,
A chredu 'n ddïamheuol;
Credu heb ddadl, na gofyn pa'm,
Y geiriau dinam dwyfol.

Ni's gallem ddeall iaith y nef,
Mae 'n iaith rhy gref i ddynion;
Am hyn wrth ddyn llefarodd NER
Yn dyner mewn damhegion.

* Ac efe a darawodd wŷr Beth-semes, am iddynt edrych yn arch yr Arglwydd, ïe tarawodd o'r bobl ddeng wr a thrugain a deng mil a deugain o wŷr. 1 *Sam.* 6. 19.

Credaf Lyfr Duw, ei Air di wall,
  Heb geisio 'i ddeall drwodd;
Mae 'n ddigon immi wybod mai
  Yr Arglwydd a'i llefarodd.

Mae 'n well im' rodio 'n awr bob dydd
  Yng ngoleu *ffydd* yn araf,
Na rhodio 'n hyf yn llewyrch dawn
  Y *golwg* llawn egluraf.*

Yn awr mewn dammeg a thrwy ddrych
  Y rhoir in' edrych beunydd;†
I'n llygaid gweiniaid gwell yw gwawr
  Na llewyrch mawr canolddydd.

Cawn ddarllen, wedi 'r bywyd hwn,
  Air Duw a'i Enw 'n gliriach;
Cawn wybod yn y nefoedd wen
  Tu draw i'r llen yn llawnach.

* Canys wrth ffydd yr ydym yn rhodio, ac nid wrth olwg. 2 *Cor*. 5. 7.

† Canys gweled yr ydym yr awrhon drwy ddrych, mewn dammeg. 1 *Cor*. 13. 12.

## DYDD IOU Y DYRCHAFAEL.

Ac wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, a hwynt-hwy yn edrych, Efe a ddyrchafwyd i fynu; a chwmmwl a'i derbyniodd Ef allan o'u golwg hwynt. *Act.* 1. 9.

NAC ofna, braidd bychan, mai 'th adael
Wna 'th Fugail fu 'n d' arail i'w Dad;
Rhydd y Tad i chwi deyrnas y nefoedd,
Porfaoedd goludoedd y wlad:
Fe ddenfyn ei Ysbryd er cysur
I'r brodyr—bydd hynny 'n fwy braint,
Trwy Hwnnw bydd etto 'n eu canol,
A mwy Gwir-bresennol i'w Saint.

I nefoedd y nefoedd yn esgyn
Mae 'n Prynwr a'n Brenhin mewn bri,
Gan gaffael rhyddhâd annherfynol,
Ysprydol, a nefol, i ni:
Yn wystyl o'n rhyddid trag'wyddol,
Trwy 'r pryniad rhinweddol a wnaeth,
Caethiwed a'i gadwyn ddychrynllyd
Sy 'nglyn wrth ei gerbyd yn gaeth.*

Ein Sanctaidd Rag-flaenor wna 'n barod
Ei nef yn breswylfod i'r Saint;
Cyd-drigant â Christ yn drag'wyddol,
Annhraethol hyfrydol yw 'r fraint:

* Dyrchefaist i'r uchelder, caethgludaist gaethiwed. *Psalm* 68. 18.

Gyd â Christ yn y nefoedd mae 'n gobaith,
  Ein serch, a'n dinasaeth* yn awr;
Ar ei ol yr esgynwn o'r diwedd
  O geufedd a llygredd y llawr.

Yspeiliodd y bedd a marwolaeth,
  Ac uffern yn anrhaith a wnaed,
A nerth eu caddugol garcharau
  A'u barrau sy 'n droedfaingc i'w draed;
Eu holl agoriadau arswydus
  Sy 'nghrog wrth ei wregys, gwir yw,†
Gall agor it', frawd, a chei ddyfod
  Ryw ddiwrnod o'th feddrod yn fyw.

* Ein hymarweddiad (πολιτευμα, *dinasaeth*) ni sydd yn y nefoedd. *Phil.* 3. 20.

† Yr hwn wyf fyw, ac a fum farw; ac wele, byw ydwyf yn oes oesoedd, Amen; ac y mae gennyf agoriadau uffern a marwolaeth. *Dat.* 1. 18.

## Y SUL AR OL DYDD Y DYRCHAFAEL.

### CWYN AM Y DIDDANYDD.

A mi a weddïaf ar y Tad, ac efe a rydd i chwi Ddiddanydd arall, fel yr arhoso gyd â chwi yn dragywyddol. *St. Ioan* 14. 16.

Attolwg, na ad ni yn anniddan; eithr danfon i ni dy Ysbryd Glân i'n diddanu. *Y Colect am y Dydd.*

Aethost oddi wrthym, Iesu Mawr;
 Y nef yn awr yw 'th drigfan;
A ninnau fore a phrydnhawn
 Yn unig iawn yn griddfan.

Hebot mewn byd digartref blin
 Yr ydym ni 'n amddifaid,
Yn rhoddi llawer llef mewn ofn,
 A llawer dofn ochenaid.

Ein beiau a'n heuogrwydd du
 Yn arfog lu a'n blinant;
A mynych am eu maint a'u rhif
 Ein dagrau 'n llif a redant.

Gorthrymder mewn gwatworus fyd
 Yw 'n rhan ar hyd ein heinioes,*
A ninnau, cyn yr hyn sy 'n ol,
 Yn dra diffygiol eisoes.

* Yn y byd gorthrymder a gewch. *St. Ioan* 16. 33.

A gwaeth na hyn yw 'r brodyr gau
Sy fyth yn hau anghydfod,
Gan hudo 'r ehud syml a'r gwan
O'r gorlan ar ddisperod.

Oh cwyd ein hyspryd tu a'r nef,
Hyfforddia lef ein hymbil;
Cysura â rhyw nefol win
Ein henaid blin ac eiddil.

Gweddïa Dithau ar y Tad,
Ni chei naccâd wrth eiriol;
A rhydd y Tad, ein tyner Ion,
I'w blant gysuron nefol.

Mae 'r Yspryd, yn ei ras di lyth,
Yn barod fyth i ddyfod,
A'r Tad i'w roi; a daw, trwy ddawn
Eiriolaeth Iawn y Cymmod.

Anfon, yn ol d' addewid fawr,
Anfon i lawr Ddiddanydd;
Ac yn ein plith yr Yspryd Glân
A wnelo 'i drigfan beunydd.

Teithiwn fel hyn mewn cysur cu
Drwy 'r drygàu 'r llu a'n blinant,
Nes cyrraedd, wedi 'n croes a'n cur,
Ddiddanwch pur Gogoniant.

## Y SULGWYN.

**Ac ymddangosodd iddynt dafodau gwahanedig megis o dân, ac efe a eisteddodd ar bob un o honynt. *Act.* 2. 3.**

Daeth Duw ar Sinai gynt i lawr
Mewn tymhestl, a thywyllwch mawr,
  Taranau, mellt, a fflammau tân;
Ond hynaws fel Colommen nef,
Heb dymhestl na brawychus lef
  I lawr disgynai 'r Yspryd Glân.

Y ddeddf ennynodd Sinai 'n fflam,
I ddïal llid a chospi cam,—
  Tanbeidiol ddig cyfiawnder tost;
Ond pur Efengyl Calfari,
I goethi 'n lân ein sothach ni,
  Gynneuodd dân y Pentecost.

Fforchogai fflammau Sinai gynt
Yn fellt ymsaethol yn eu hynt,
  I daro torrwŷr deddf y nef;
Tân Iesu yn dafodau daeth,
Tafodau i gyhoeddi 'n ffraeth
  Faddeuant yn ei Angau Ef.

Y ddwyfol Fflam angerddol gref,
Marworyn oddi ar allor nef,*
  Ac nid tân dïeithr allor dyn,
Fo 'n ennyn gwefus gweision Duw
I droi plant dynion o bob rhyw,
  A'u dwyn i'w Eglwys Lân ei Hun

* Gwel *Esay* 6. 6, 7.

O! Dân Pureiddiol, Yspryd Duw,
Bywiawdwr einioes f' enaid gwyw,
  Gwresoga 'm bron â'th ras di lyth;
Aros o'm mewn yn fywiol fflam
I'm harwain yn dy ffyrdd bob cam,
  A dal fi rhag dy ddiffodd byth.

## DYDD LLUN SULGWYN.

### BABEL A SALEM.

Deuwch, disgynwn, a chymmysgwn yno eu hiaith hwynt, fel na ddeallont iaith eu gilydd. *Gen.* 11. 7.

Yr oeddynt yn eu clywed hwy yn llefaru â thafodau, ac yn mawrygu Duw. *Act.* 10. 46.

DAETH Duw, â dirmyg yn ei wedd,
  I fras wastadedd Sinar,
I edrych ar y Tŵr o draw,
  Gwaith dwylaw plant y ddaear.

Yn brysur gweithiai dynol ryw
  Heb ofn eu Duw, heb wylder;
Cymmysgodd Yntau yno 'u hiaith,
  I rwystro gwaith eu balchder.

Ond ar Ddydd Gwyl y Pentecost
  I lawr y daethost, Arglwydd,
I uno ieithoedd daear las
  Yn rhwymyn gras sancteiddrwydd.

Dirymmwyd melldith Babel fawr
  Yn Salem, maenawr Dofydd;
Daeth pell genhedloedd daear faith
  I ddeall iaith eu gilydd.

O Salem Lân! O Eglwys Dduw!
  Cyfundeb yw dy goron;
Babel sy 'n tarfu ar bob llaw,
  Ond Ti sy 'n unaw dynion.

Gwnaeth yspryd sect ein daear, do,
  Yn Babel o gymmysgiad;
Pwy sydd yn son am Grist a'i waith,
  Yn un eu hiaith a'u syniad?

Afluniaidd iawn y gwnaeth ein byd,
  Fe 'i dug i adfyd dyfnach;
Ac nid yw 'r llewyrch gau a roes,
  Ond gwneud yr oes yn d'wyllach.

Ymsymmud, Yspryd genau Ner,
  Ar frig y dyfnder etto;
A dwg i drefn, fel gynt, y byd,*
  Mae 'n awr yn bryd it' weithio.

O dwg wrthgilwŷr i dy Dŷ,
  Estronol lu, i orphwys;
I ddeall dy ryfeddol waith,
  A siarad iaith dy Eglwys.

* A'r ddaear oedd afluniaidd a gwag, a thywyllwch oedd ar wyneb y dyfnder, ac Yspryd Duw yn ymsymmud ar wyneb y dyfroedd. *Gen.* 1. 2.

Cymmysgfa Babel fawr y byd,
  Syniadau croesfryd gwrtheb,
Elo cyn hir, drwy 'th ddwyfol ddawn,
  Yn Salem lawn o undeb!

### DYDD MAWRTH SULGWYN.

#### CONFFIRMASIWN, NEU FEDYDD ESGOB.

(Myfyrdod un newydd ei gonffirmio.)

Yna hwy a ddodasant eu dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant yr Yspryd Glän. *Act.* 8. 17.

DAN ddodiad dwylaw Gwas yr ION
  Fe grynai 'm calon ofnus,
Rhag, ynghynteddau Duw a'i Dŷ,
  Fy mod yn rhy ryfygus:

Ond nid oedd raid—ei eiriau mel
  'Oedd im' yn sel ei gariad;
Mor dadol (nid â byth o'm cof)
  Oedd drosof ei ymbiliad.

Gweddïai am i'r Yspryd fod
  A'i drigfod yn fy nghalon;
Gwrandawai 'r Arglwydd drosof fi
  Ar lef ei weddi ffyddlon.

O! rodd annhraethol fyth ei maint,
  Uchelaf fraint pechadur,
Sefydlu trigfa 'r Yspryd Glân
  Mewn calon aflan ammhur.

Rhoed im' yr Yspryd gan y Tad
  Yn Sanctaidd Olchiad Bedydd;
A chefais heddyw beraidd flas
  Ei ddawn a'i ras o'r newydd.

O Sanctaidd Yspryd Crist a'r Tad,
  Preswylia 'n wastad ynof;
Nac ymadawed gras di lyth
  Dy wyddfod byth o honof.

Gwneis heddyw addunedau dwys,
  'Rwyf dan eu pwys yn crynu;
Ni's gallaf, heb dy gymmorth, ddim,
  Rho 'th gymmorth im' i'w talu.

Caf demtasiynau 'r Fall heb ri',
  Nac arwain Di fi iddynt;*
Os syrthio wnaf, Oh dwg yn iach
  Fy enaid bach o honynt.

Tywys fy rhodiad yn dy ras
  O lwybrau diras ynfyd;
A chadw 'm traed yn llwybrau ffydd
  Drwy gydol dydd fy mywyd.

* Nac arwain ni i brofedigaeth. *Gweddi 'r Arglwydd.*

## SUL Y DRINDOD.

**Y mae tri yn tystiolaethu yn y nef; y Tad, y Gair, a'r Yspryd Glân: a'r tri hyn un ydynt. 1 *St. Ioan* 5. 7.**

I'r Drindod Sanctaidd Lân Ddi lyth
Datganwn Haleluiah byth;
Dadseiniwn fawl yr Arglwydd Ri,
Y Tri yn Un, a'r Un yn Dri.

Ti Dad Trag'wyddol, Cadarn, Mawr,
A greaist nef a daear lawr;
Etholaist bob credadyn gwir
I fywyd bythol nefol dir.

Tithau, Drag'wyddol Fab y Tad,
A folwn am dy gariad rhad;
Tydi a'n prynaist ar y Pren,
Gan agor inni 'r nefoedd wen.

Dyrchafwn etto gydradd gân
I Dduwdod Pur yr Yspryd Glân;
Sancteiddiwr dethol feibion Duw,
Yr Arglwydd a'r Bywiawdwr yw.

I'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân,
Un Duw, Tri Pherson diwahân,
Y bo, fel gynt, y clod yn awr,
A byth i drag'wyddoldeb mawr.

## Y SUL CYNTAF GWEDI 'R DRINDOD.

### ABRAHAM YN EIRIOL DROS SODOMA.

**Yna y dywedodd, Oh na ddigied fy Arglwydd, a llefaraf y waith hon yn unig: Ond odid cair yno ddeg. Yntau a ddywedodd, Ni's difethaf er mwyn deg. *Gen.* 18. 32.**

TAD y ffyddloniaid, Cyfaill Duw,
Mor nerthol yw dy weddi!
Mae calon ddigllon Angel nef
O flaen ei llef yn toddi!

Er uched gwaedd y gwŷr a'u llef
Am ddïal nef i'w taro,
Bron iawn na's gellaist oll yn lân
O'r gynneu dân eu cipio.

Blànt Abraham, ffyddloniaid Ner,
Mewn byd ysgeler ffiaidd,
Eiriolwch drosto nos a dydd
Wrth y Dïalydd Sanctaidd.

Gan liw ystormus gawod dân
A ffaglau brwmstan etto,
Mae wyneb dig y nefoedd fawr
Uwch daear lawr yn rhuddo.

Er fod y byd âg uchel lef
Am ddïal nef yn gwaeddi;
O herwydd gweddi 'r Eglwys Lân
Mae 'r cwmmwl tân heb dorri.

Mae gwŷr y byd â dyrnod dwys
  Yn curo 'r Eglwys eiddil,
A'r Eglwys hithau 'n daer o hyd
  Dros wŷr y byd yn ymbil.

Mae Crist yn eiriol yn y nef,
  A'i Weddi gref yn llwyddo;
Mae gweddi 'r Eglwys dros y byd
  Yn llwyddo hefyd ynddo.

Y Weddi hon a dry, cyn hir,
  Ein gwlad fel tir Paradwys;
Eiriolaeth Crist a'i bobl ynghŷd
  A dry y byd yn Eglwys.

## YR AIL SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### ZEL YR EGLWYS WEDI OERI.

Pobl Zabulon a roddes eu heinioes i farw; felly Naphtali ar uchel-fannau 'r maes. *Barn.* 5. 18.

P'LE, Naphtali, mae zel dy fron?
  P'le, Zabulon, mae 'th gariad?
P'le mae 'th eiddigedd dros dy Dduw?
  P'le heddyw mae 'th ymroddiad?

Bu am neillduaeth Reuben gynt,
 It' helynt gofal calon;*
Heddyw i ymneillduaeth brawd
 Mae 'th enaid tlawd yn foddlon.

Yn ddewrach brwydraist gynt na neb
 Yn erbyn wyneb Jabin;
Cyngrair sy 'n awr, er gwaetha 'r nef,
 Rhyngot ac ef a'i fyddin!

Ymhlaid y ffydd ymdrechaist gynt
 Rhag pob gau wynt dysgeidiaeth;
'Rwyt heddyw 'n dawel, er amlhâu
 O bob rhyw gau athrawiaeth!

Wynebit angau gynt mewn cân,
 Merthyrol dân neu gleddau;
Ond heddyw 'r groes ysgafna 'n bod
 Sy 'n ormod i'th ysgwyddau!

Ymwadit gynt â thi dy hun,
 Er mwyn gwell dilyn crefydd;
Ond meiddi 'n awr, os gwawdia 'r byd,
 Roi heibio 'th ympryd beunydd!

Mae 'th goron wedi syrthio i lawr,
 Gwae di yn awr ddirywio!†
Mae 'r byd yn chwerthin am dy ben,
 A'r nefoedd wen yn wylo!

* Am neillduaeth Reuben yr oedd mawr ofal calon. *Barn*. 5. 16.

† Syrthiodd y goron oddi am ein pen; gwae ni yn awr bechu o honom. *Galar*. 5. 16.

O Dduw, er mwyn dy Fab a'i glod,
  Er hyn na wrthod mo'nom;
Ymwel â ni drachefn dy Hun,
  A'th ddawn ail-ennyn ynom.

Yn nhir ein gwlad bywhâ dy waith,
  Ein zel fo 'n oddaith nefol
Yn llosgi 'n fflam dros Iesu Gwyn
  Ar Sion fryn sancteiddiol.

---

## Y TRYDYDD SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### Y RHAN DDA.

Minnau hefyd a'i rhoddais ef i'r Arglwydd; yr holl ddyddiau y byddo efe byw, y rhoddwyd ef i'r Arglwydd. Ac efe a addolodd yr Arglwydd yno. 1 *Sam.* 1. 28.

A Mair a ddewisodd y rhan dda, yr hon ni ddygir oddi arni. *St. Luc* 10. 42.

Beth yw gofal byd a'i drafferth,
  Beth yw elw 'r byd a'i glod?
Dim ond gwagedd a gorthrymder,
  Blinder yspryd îs y rhod:
Cym'red Martha 'r byd a'i helbul,
  Fy rhan innau, gyd â Mair,
Fo cael eistedd wrth draed Iesu,
  I fyfyrio ar ei Air.

Er cael eiste' i lawr i wrando
  Hyfryd lais fy Iesu Gwiw,
Lleisiau 'r byd a'r cnawd sy 'n ceisio
  Boddi nefol lais fy Nuw;
Er cael myned i'w gynteddau
  O swn trafferth daear gron,
Etto 'r ddaear a'i thrafferthion
  Fynnant yno lenwi 'mron.

Oh na feddwn esgyll c'lommen,
  Neu adenydd gwawr y dydd;
'Hedwn ymaith a gorphwyswn
  Draw o'm rhwymau oll yn rhydd;
Yno 'mhell o swn aflafar
  Byd a'i wagedd o bob rhyw,
Mi gawn hamdden dawel beunydd
  I ryfeddu gras fy Nuw.

Gosteg, f' enaid bach, distawa!
  Nid yw 'mhell y dydd na'r awr,
Pan gei 'hedeg uwch yr wybren
  O dew glai a phridd y llawr;
Yno cei addoli 'r Iesu,
  Gyd â chwmni 'r nefoedd wen,
Byth heb rwystrau, byth heb ddiwedd,
  Byth heb gwmmwl, byth heb len.

## Y PEDWERYDD SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### DIODDEFGARWCH.

Yr ydwyf yn cyfrif nad yw dïoddefiadau yr amser presennol hwn, yn haeddu eu cyffelybu i'r gogoniant a ddatguddir i ni. *Rhuf.* 8. 18.

PAHAM y grwgnach dyn, paham,
Dan gerydd am ei bechod,
Ac yntau wedi haeddu 'n llawn
Gosp gyflawn uffern isod?

Gwrando 'i thrigolion dan lid Duw,
Eu hwylo clyw, a'u rhingcian;
A feiddi, ym myd y trugarhâu,
Dan d' esmwyth boenau, riddfan?

Gwel d' Arglwydd Iesu ar y Groes
Yn goddef duloes angau;
Ac yna grwgnach yn dy ran,
Os gelli, dan dy boenau.

Dioddefodd Ef dros feiau 'r byd
A'i bobl i gyd ar unwaith,
Yn addfwyn, ddistaw, fel yr oen,
Dan ing ei boen a'i artaith.

Pa drallod bynnag ddel i'm rhan,
A deued pan y delo,
Yngrym dioddefaint llym ei Groes
Af dan y loes heb gwyno.

Mor werthfawr cyfrannogi 'n awr
  O Groes fy Mawr Waredwr,
A chael cyflawni yn fy nghnawd
  Gystuddiau 'Mrawd a 'Mhrynwr!*

O paid â chwyno, Gristion gwan,
  Sy 'n isel dan y tonnau,
Cofia mai pwysau Croes dy Grist
  Yw 'th gystudd trist a'th boenau.

Nid dyrnod gelyn sy ar dy ben,
  Ond gwialen dy Anwyl-Dad;
Paid âg ymollwng—tystia ffydd
  Nad yw ond cerydd cariad.

Pa beth yw cystudd munud prudd,
  Wrth oes tragywydd fwyniant?
Beth yw ysgafnder dolur dwys,
  Wrth fythol bwys Gogoniant?

Cofleidia 'r groes tra yn y byd,
  Fel trysor drud dy galon;
Ryw ddydd a ddaw mewn gwlad sy fry
  Dy groes a dry yn Goron.

* Yr hwn ydwyf yn awr yn llawenychu yn fy nïoddefiadau drosoch, *ac yn cyflawni yr hyn sydd yn ol o gystuddiau Crist yn fy nghnawd i.* Col. 1. 24.

## Y PUMMED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### MYFYRDOD Y PYSGODWR FFYDDLON.

A Simon a attebodd ac a ddywedodd wrtho, O Feistr, er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim; etto ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd. *St. Luc* 5. 5.

HEB ddala dim ar hyd y nos,
'Rwyf agos a diffygio;
Er hyn y rhwyd, ar air fy Nâf,
A fwriaf unwaith etto.

Ti bïau 'r rhwyd, a'r pysg, a'r môr,
Ac eiddot, IOR, wyf finnau;
Ufudd-dod yw fy ngorchwyl i,
Ond eiddot Ti 'r effeithiau.

Gweddïo a phregethu 'r wyf
Am Grist, ei glwyf, a'i haeddiant,
Heb weled ar fy ngweddi 'n awr,
Na'm pregeth, fawr o lwyddiant.

O Sul i Sul mae cloch y Llan
Yn gwahodd dan berseinio;
Ond arni fore a phrydnhawn
Ychydig iawn sy 'n gwrando.

I Lân Wasanaeth Duw pan eir,
Ychydig geir i'w borthi;*
O fewn ei Dŷ bydd llawer maingc
Heb hen nac ieuaingc arni!

* *Porthi'r Gwasanaeth* sydd ymadrodd arferol, mewn rhai mannau o Gymru, am ddilyn y Gwasanaeth gyd â'r

Mae yma 'r hen Fedyddfan lawn
  Yn barod nawn a borau;
Ond pwy sy ganddo ffydd a nerth
  I weled gwerth ei breintiau?

Mynych y gwelir Bwrdd yr Ion
  A phur ddanteithion arno,
Ac yn y Wledd o nefol rin
  Prin ddau neu dri 'n cymmuno!

Oh mor hunanol ac mor gaeth
  Yw brwnt annuwiaeth dynion;
Eu tai eu hunain llawn y'u caf,
  A themlau Naf yn weigion!

At fân enwadau o bob rhyw
  O Dŷ eu Duw gwrthgiliant;
Dewis rhai Bethel yn lle 'r Llan,
  A rhai i Dan a dynnant.

A ewch chwi at y rhai ar gam
  A'ch ysant am eich arwain?*
Nid ceisio 'r eiddoch yr wyf fi,
  Na dim ond chwi eich hunain.†

Er o Dŷ Dduw, i foddio chwant,
  I chwi a'ch plant wrthgilio,
Mae Crist ac Yspryd pur y Tad,
  Yn trigo 'n wastad ynddo.

Gweinidog, ac adrodd yn uchel gyd â'r gynnulleidfa yr hyn a bennodwyd i hynny.

* Y rhai sydd yn *llwyr-fwytta* tai gwragedd gweddwon. *St. Luc* 20. 47.

† Nid ydwyf yn ceisio yr eiddoch chwi, ond chwychwi. 2 *Cor*. 12. 14.

O deuwch chwithau yno 'n ol,
  Na fyddwch ffol yn rhagor;
Ceisiwch am eich gwrthgiliad cas
  Gan Dduw ei ras a'i ffafor.

Duw, dwg d' afradlon blant yn nes,
  I fonwes Eglwys Iesu;
Oh dwg hwy o'r bellenig wlad
  I Dŷ eu Tad a'i deulu.

Mae 'r Eglwys ddiblant etto 'n fyw,
  A'i chynnydd heddyw 'n eglur,
A byth ni's gelwir mo'ni mwy
  Yn ammhlantadwy, frodyr.

Mae 'r t'wyllwch hir fu 'n cadw Hon
  Mewn trymgwsg, bron myn'd heibio;
Ei nos yn prysur gilio sydd,
  Mi welaf ddydd yn gwawrio.

Fy nghyd-bysgodwŷr, gweision Ior,
  Y rhwyd i'r môr gollyngwn
Ar archiad Llywydd nef a llawr,
  A helfa fawr a ddaliwn.

## Y CHWECHED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### YR HEN FONWENT.

Gâd, attolwg, i'th was ddychwelyd yn fy ol, fel y byddwyf marw yn fy ninas fy hun, ac fel y'm cladder ym meddrod fy nhad a'm mam. 2 *Sam.* 19. 37.

Y Seintiau gynt, tra buant byw,
I Eglwys Dduw y cyrchent;
A'u cartref ym marwoldeb yw
Cysgodion Yw* ei monwent.

Wedi llafurio 'n dwyn y groes
O oes i oes olynol,
Mae 'r Seintiau meirw o gylch y Llan
Yn Eglwys dan-ddaearol.

Adfywiad yw i'm hyspryd gwan
Gael yn y Llan addoli,
Lle gorphwys torf o gylch ei mur
O anwyl frodyr immi.

Y maent im' etto 'n frodyr cu
Er angau du a'i deyrnas;
Ni thorrodd angau du, na dôr
Y beddrod mo 'r berthynas.

'Roedd Crist ein Harglwydd, T'wysog hedd,
Yn Ben mewn bedd i'w Seintiau;
Maent hwythau, ym mro marwol dir,
I Grist yn wir aelodau.

* Ei chorph wrth y Llan mewn daearen,
Dan gysgod yr *Ywen* a roed.
*Gruffydd Meilir i'w fam.*

Gwleddasant ar ei Gnawd a'i Waed,
  Ac un y'u gwnaed yn ddïau;
Fe'i hunwyd Ef â hwy ei Hun,
  Gwnaed hwythau 'n un âg Yntau.*

O! 'r rhwymyn byw i farwol ddyn
  Yw Cymmun Corph ein Prynydd!
Mae 'n rhoi mewn undeb holl blant Duw,
  Y meirw a'r byw â'u gilydd!

Beth os oes brodyr gau 'n y bedd,
  Yn gorwedd gyd â'r duwiol,
Pell ar wahan eu trigfa fydd,
  Pan ddelo dydd y didol.

Aelodau Eglwys Lân fy Naf,
  Wrth fyw, yw 'm hoffaf gwmni;
Ac yn eu plith dymunwn gael
  I'm corphyn gwael ei letty.

Caf finnau, frodyr, cyn bo hir,
  Dd'od yna i dir tangnefedd;†
A chaf yn dawel, wrth y Llan,
  O'ch monwent ran i orwedd.

* Os â chalon wir edifeiriol, ac â bywiol ffydd, y cymmerwn y Sacrament bendigedig hwnnw--*yna yr ŷm yn un â Christ, a Christ â ninnau. Gwasanaeth y Cymmun.*

Yr hwn sydd yn bwytta fy nghnawd i, ac yn yfed fy ngwaed i, sydd yn aros ynof fi, a minnau ynddo yntau. *St. Ioan* 6. 56.

† Yna a dywedodd Thomas—wrth ei gyd-ddisgyblion, Awn ninnau hefyd, fel y byddom feirw gyd âg ef. *St. Ioan* 11. 16.

Hunwn yn dawel nes del Ior
  I ddattod dôr ein beddrod;
Cawn ddeffro, heb fod mwy yn drist,
  Ar ddelw Crist ein Prïod.

## Y SEITHFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### CYFRANNU AT ACHOS DUW.

Nid offrymmaf i'r Arglwydd fy Nuw boeth-offrymmau rhad. 2 *Sam.* 24. 24.

Yr Holl-gyfoethog Rasol Ri
  A roes i ni sy 'n eiddom,
Gan ddisgwyl cael yn ol ei Hun
  Rodd gan bob un o honom.

Gwasgarodd Ef it' roddion fil,
  Ac ni bu gynnil wrthyt;
Yn ol yn helaeth ac yn hael
  Mae 'n disgwyl caffael gennyt.

Dan ddïolch, derbyn di a wnaeth
  Dros d' enaid caeth a'i feiau,
O'i ras fe dderbyn Yntau 'th waith
  A'th rodd ammherffaith dithau.

O'th amgylch trig ei anwyl rai,
  Ei Eglwys a'i dylodion;
A rannech iddynt hwy yn rhodd,
  Fe fydd wrth fodd ei galon.

Rho gyfran at Eglwysydd Ner,
A rho 'n ddibrinder hefyd;
Rho at Genhadon Crist ein Pen,
A dyro 'n llawen d' yspryd.

O tyn heb arbed, wrth ei raid,
Dy enaid i'r newynog;
A'th gynnes wisg oddi am dy gefn
Dod am ei gefn anwydog.*

Cyfranna fwy at achos Ior
Nag allech hebgor hawsa';
Na chynnyg offrwm crintach gwael,
Ond â llaw hael gwasgara.

Os rhoi i'r Arglwydd o dy fodd,
Derbynia 'r rhodd—yn fenthyg;
Dy rodd yn ol, er llwydd a lles,
I'th fonwes tâl yn ganplyg.

* Os tynni allan dy enaid i'r newynog,—pan welych noeth, ei ddilladu, *ac nad ymguddiech oddi wrth dy gnawd dy hun.* Esay 58. 7 a 10.

## YR WYTHFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### RHAGLUNIAETH DDWYFOL.

O DDUW, yr hwn trwy dy ddiball Ragluniaeth wyt yn llywodraethu pob peth yn y nef a'r ddaear; yn ufudd ni a attolygwn i ti fwrw oddi wrthym bob peth niweidiol, a rhoddi o honot i ni bob peth a fyddo da er ein lles; trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Y Colect am y Dydd.*

Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu. *Psalm* 93. 1.

YR ION yw Llywydd nef a llawr,
Yr Arglwydd mawr ei allu;
Ni waeth pa faint a dyrfo dyn,
Yr Arglwydd sy 'n teyrnasu.

Er 'storm terfysglyd wynt a'i fâr,
Y dyfnfor a'r llifeiriant,
Ar hanner gair o enau 'r IOR
Y gwynt a'r môr ostegant.

A Hwn yw Pen yr Eglwys Lân,
'Does ddwr na thân a'i dryga;
Hwn iddi 'n Gadarn Dŵr a sai',
'Does elyn a'i niweidia.

Am dynnu Hon yn llwyr i lawr
Mae uffern fawr a'i byddin,
Ac Yntau 'n gwatwor o'i nef wen,
Ac am eu pen yn chwerthin.*

* Yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd a chwardd; yr Arglwydd a'u gwatwor hwynt. *Psalm* 2. 4.

Er llid a dichell sect a phlaid,
  Y rhai 'n ddi baid a'i blinant,
Ei Brenhin yn ei harddel sydd,
  A mwyfwy fydd ei llwyddiant.

Rhyw fesur o gynddaredd dyn
  I'w herbyn, bair dy foli;
Ond mwy na hyn o'i fâr a'i fai,
  Ti, Arglwydd, a'i gwaherddi.*

Mae holl olwynion troion byd
  Yn dirgel gyd-weithredu
I ddwyn ymlaen 'mhob oes a gwlad
  Berffeithiad Corph yr Iesu.

Ai 'n herlid ai ein canmol gawn,
  Ychydig iawn ofalwn;
Dan nawdd Rhagluniaeth Duw a'i law
  Ymlaen yn ddistaw teithiwn.

Ein Duw sy nawdd a nerth i ni,
  Pa'm rhaid in' ofni niwaid
Gan uffern ddig, gan fyd na 'i bla,
  Gan ddynion na chythreuliaid?

Oh cadw draw, tra byddom byw,
  Oddi wrthym bob rhyw niwaid;
Rho bob peth inni, Dyner Dad,
  Fo er llesâd ein henaid.†

* Dïau cynddaredd dyn a'th folianna di; *gweddill* cynddaredd a waherddi. *Psalm* 76. 10.

† Gwel y Colect am y Dydd.

## Y NAWFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### CYD-YMDEIMLAD EIN HIACHAWDWR.

Nid oes i ni Arch-offeiriad heb fedru cyd-ddïoddef gyd â'n gwendid ni. *Heb.* 4. 15.

P'LE 'rwyt, gredadyn ofnus gwan,
Sy 'n dioddef dan och'neidio,
Heb gennyt gyfaill yn y byd,
Na brawd i gyd-ymdeimlo?

Tro d' wyneb at yr Iesu Glân,
Fe wrendy gwynfan d' eiriau;
Mae 'r Iesu 'n Gyfaill ac yn Frawd
Un waed a chnawd a thithau.

Gan fod y plant o gig a gwaed,
O gig a gwaed daeth Yntau;
Ein Brawd a'n Cyfathrachwr yw,
Un âch a rhyw a ninnau.

Perffeithiwyd T'wysog Mawr y Saint
Trwy lym ddioddefaint didro;*
Bu fyw 'n gystuddiol yn y byd,
I ddysgu cyd-ymdeimlo.

Teimlodd biccellau tân y Fall,
Am hynny gall ein dysgu
I wrthladd pob temtasiwn gas,
Yngrym ei ras, a'i threchu.

* Gwel *Heb.* 5. 8, 9.

Dan ofid llym a dolur dwys,
  Dod arno 'th bwys yn gyfan;
Gofidus a dolurus fu
  Ein Harglwydd cu ei Hunan.*

Rhed atto 'mhob temtasiwn gref,
  Mae 'i gymmorth Ef i'th noddi;
Gorchfygodd Ef ei nerth yn llwyr,
  Trwy brofiad gŵyr am dani.

Nac ofna ddychryn angau du,—
  Bu farw Iesu 'th Geidwad;
Daw Ef i'th nerthu 'ngrym y don
  Yn Ffyddlon Arch-offeiriad.

Anturia, f' enaid, atto 'n hyf,
  Ei ras sy gryf i'th helpio;
A'i galon dyner sydd o hyd
  Yn hael i gyd-ymdeimlo.

---

### Y DEGFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

#### TY DDUW YN DY GWEDDI.

Fy nhŷ i, tŷ gweddi yw. *St. Luc* 19. 46.

I B'LE y rhed pechadur gwael
  A thlawd i gael ymgeledd?
I Dŷ ei Dduw ar frys mae 'n ffoi,
  Sy 'n hoffi rhoi trugaredd.

* Gwr gofidus a chynnefin â dolur. *Esay* 53. 3.

Daw i Dŷ Gweddi dan ei bwn,
  Tywallt yn hwn ei enaid;
Ei eiriau prudd a wrendy 'r Ion,
  A chwynion ei ochenaid.

Caiff yma Dduw o'i ras di lyth
  Yn barod fyth i wrando,
A gwedd Iachawdwr Mawr y byd,
  A Saint i gyd-weddïo.

Eu cyd-weddïau hwy a'u llef
  Yng Nghrist i'r nef sy 'n esgyn;
Trugaredd Duw o'r nef yn glau
  Sydd arnynt hwythau 'n disgyn.

Pan yma, o drafferthion byd,
  Drwy ffydd y cyd-ymgasglant,
A'u taer a'u gostyngedig lais
  Y nef drwy drais cymmerant.*

'Does eisiau dawn ymadrodd gwiw
  It' draethu briw dy galon;
Cei yma ffurf o weddi bur,
  Cymhesur i'th anghenion.

Nid tebyg yw y byddai un
  O'm geiriau f' hun yn gymmwys;
Dadlwythaf yma 'm calon drist
  Yng ngeiriau Crist a'i Eglwys.

* Yr ydys yn treisio teyrnas nefoedd, a threiswŷr sy 'n ei chipio hi. *St. Mat.* 11. 12.

Diolcha 'm calon, ac ni's tau,
  Am ffurf o eiriau gweddi;
Heb waith dyfeisio geiriau, mi
  Gaf seibiant i addoli.

Aed gwŷr y galon iach ddi fai
  Yn dorf i dai *pregethu;*
Ond i *Dŷ Gweddi,* Eglwys Dduw,
  Myn calon friw ddynesu.

## YR UNFED SUL AR DDEG GWEDI 'R DRINDOD.

### RIMMON.

Pan elo fy Arglwydd i dŷ Rimmon i addoli yno, a phwyso ar fy llaw i, a phan ymgrymmwyf finnau yn nhŷ Rimmon; pan ymgrymmwyf yn nhŷ Rimmon, maddeued yr Arglwydd i'th was yn y peth hyn. 2 *Bren.* 5. 18.

PRIN gallaf gadw 'm calon ffol
  A'm meddwl gwibiol crwydraidd
Yn Eglwys Dduw am awr yn gaeth
  Yn ei Gwasanaeth sanctaidd!

Ni fynnwn wasanaethu 'r ION
  A pharchu Rimmon hefyd;
Ond mynnai Rimmon yn Nhŷ Ner
  Gael llawer o'm meddylfryd.

Dos ymaith, Satan, paid â mi,
  Gad im' addoli 'n ffyddlon;
Na huda 'm calon ysgafn ffol
  I wibio ar ol dy swynion.

'Does le rhy sanctaidd, Satan gas,
  I'th ddiras demtasiynau;
Po glana 'r lle yngwaith fy Nuw,
  Prysuraf yw 'th biccellau.

Lle pur oedd Eden, Wynfa Lân,
  Addolfa 'n cyn-rieni;
Er glaned gardd yr Eden hon,
  Doist ti a'th swynion iddi.

Daeth dydd i'w blant i addoli Ner,
  Daeth nifer fawr o honynt:
Doist tithau, Satan, yn eu plith
  Yn rhwystr a melldith iddynt.*

Ti feiddiaist demtio 'r Iesu 'n hŷ
  Ar binacl Tŷ addoliad;
Y Deml a'r sanctaidd ddinas dda
  Oedd man enbytta 'th demtiad.

Ofnadwy gan sancteiddrwydd Ner
  Oedd awr ei Swpper olaf;
Ond dyna 'r pryd aeth Satan gas
  I galon Judas ddyfnaf.

* *Job* 1. 6.

Yn Nheml a Chymmun Eglwys Dduw
  Mae 'n temtio heddyw 'n debyg,
Gan hudo 'r galon wan ar ol
  Pob gwag a ffol ddychymmyg.

Ond, frodyr, er ei ddichell ef,
  Yngras y nef ymdrechwn,
A'n Llyfrau Gweddi yn ein llaw,
  I gadw draw 'r demtasiwn.*

Dedwydd yw Seintiau nef y nef,
  Addolant Ef heb beidio,
Heb ddiafol byth yn rhwystro 'u mawl,
  Na meddwl gwibiawl yno.

O! gwyn eich byd, addolwŷr Gwawl,
  Dïysgog fawl sy 'n eiddoch;
Gobeithio 'r wyf gael bod fy hun
  Cyn hir yn un o honoch.

* Gall profiad llawer dystio mai ffordd lwyddiannus i gadw draw feddyliau gwibiog yn yr Eglwys, yw dilyn y Gwasanaeth yn y Llyfr Gweddi yn fanwl gyd â'r Gweinidog, ac atteb gyd â'r gynnulleidfa.

## Y DEUDDEGFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### TEWI.

Eithr y bobl a dawsant, ac nid attebasant air iddo; canys gorchymyn y brenhin oedd hyn, gan ddywedyd, Nac attebwch ef. 2 *Bren.* 18. 36.

PAN fo dadleuwŷr coegion fryd
Yn daer o hyd i'th holi,
Gall atteb d' yrru yn rhy bell,
A llawer gwell yw *tewi*.

Pan fo gelynion chwerw eu sen
Yn rhoi drwg absen immi,
A'u geiriau oll o dwyll yn llawn,
Peth anhawdd iawn yw *tewi*.

Pan fo 'r trahaus, heb achos ddim,
Yn greulon i'm difenwi,
Attebai 'm cnawd i'w eiriau cas,
Ond mynnai gras im' *dewi*.

Os na roes Michael farn yn ffol
Ar ddiafol am ei goegni,
Wrth wawd y traws a'i gelwydd gau
Nid mawr i minnau *dewi*.

Ond pwy yw Michael? Bu un Mwy
Yn goddef mwy athrodi
Gan waelion ddynion beilchion byd,
Ac etto i gyd yn *tewi*.

Goddefodd Iesu am fy mai
  Ei ddryllio a'i ddifenwi;
'Roedd fel y ddafad dan ei boen,
  Neu fel yr oen, yn *tewi.*

O Dduw 'r amynedd, rho dy ras
  I'th was i'm galluogi,
Er bod dan gabledd dyn yn drist,
  Fel Iesu Grist i *dewi.*

Os medrwch chwi, wŷr traws, ar gam,
  Fy ngwawdio a'm difenwi,
Trwy ras amynedd Iesu mau
  Mi fedraf finnau *dewi.*

## Y TRYDYDD SUL AR DDEG GWEDI 'R DRINDOD.

### CWYMP SENACHERIB.

A'r noson honno 'r aeth angel yr Arglwydd, ac a darawodd yngwersyll yr Assyriaid bump a phedwar ugain a chant o filoedd; a phan gyfodasant yn fore drannoeth, wele hwynt oll yn gelaneddau meirwon. 2 *Bren.* 19. 35.

Yn erbyn dinas Salem Lân
Ai Assur falch a'i lid yn dân,
  Gan feddwl ei malurio 'n llwch;
Dan watwar hon a'i Duw mewn gwŷn,
A'i hyder yn ei fraich ei hun,
  Ei fyddin trefnai 'r gelyn trwch.

Pa beth a wnei, Gaersalem Lân?
Ei rif sy fel y tywod mân,
  Llem yw ei saeth, a'i fraich sy gref;
Esgyn i'r Deml, preswylfod Ior,
Adgofia 'r Aipht a gwyrth y môr,
  Ac ar dy Frenhin cwyd dy lef.

Gweddïodd Salem, clywodd Duw,
Un hawdd ei gael mewn trallod yw,
  A'i harddel erddo 'i Hun a wnaeth;
Fel mellten daeth ei Angel cryf,
A gwersyll Assur falch a hyf
  Ddifrododd heb na chledd na saeth.

Yr olwg gyntaf welai 'r wawr
Drannoeth, oedd Assur falch ar lawr,
  A'i gledd a'i fwa 'n ddrylliau mân;
Assur yn gorwedd, ffiaidd lu,
Yn gelain ar y ddaear ddu,
  A mawl ym mhyrth Caersalem Lân.

Crynwch, elynion Eglwys Dduw,
Mae Cwympwr Assur etto 'n fyw,
  Daw terfyn ar eich brad a'ch bri;
Brenhin brenhinoedd daear las,
Gostyngwr eu mawrhydri cas,
  Hwnnw sy nawdd a nerth i ni.

## Y PEDWERYDD SUL AR DDEG GWEDI 'R DRINDOD.

### ANNIOLCHGARWCH CYMRU.

A'r Iesu gan atteb a ddywedodd, Oni lanhâwyd y deg? ond pa le y mae 'r naw? *St. Luc* 17. 17.

" Oni lanhawyd deg â'm llaw,
" Ond p'le mae 'r naw ?" medd Iesu;
Er llwyr adnabod calon dyn,
Mae 'r Iesu ei Hun yn synnu!

Oni lanhawyd llawer cant,
Fy ngwlad, o'th blant oedd aflan,
Oddi wrth wahan-glwyf Adda 'n Tad
Yngolchiad y Fedyddfan?

Ond yn lle aros gyd â'u Mam*
I ddïolch am eu golchiad,
Dychwel'sant i'w budreddi 'n ol
I dommen ffol wrthgiliad.

Yn lle parhâu yn Eglwys Ner
I wrando 'i phêr Wasanaeth,
Hoffant ymdreiglo, fel yr hwch,
Yn nhom a llwch 'Neillduaeth.

* Yr Eglwys.—Y Jerusalem honno uchod—yr hon yw ein *mam* ni oll. *Gal.* 4. 26.

Meithrinodd feibion iddi 'n hil,
  A meibion fil a fagodd;
Ac etto i gyd ei hanwyl rai,
  Ei meibion, a'i disodlodd.

Arddant eu cwysau ar ei chefn,
  Ei sanctaidd drefn dirmygant;
Ac ar ei hwyneb, er ei hawl,
  Eu glafoer sectawl poerant.

Maent yn ymryson gyd â brys
  I estyn bys a'i gwawdio;
Nid ymfoddlonant ar ddim llai
  Na'i phoeni a'i chroeshoelio.

Fel Iesu, hithau ar y groes
  Ynghanol loes eu cabledd,
Mae 'n llefain ar ei nefol Dad
  Am faddeu 'n rhad eu camwedd.

Gymru, mae gennyt gyfrif trist
  Wrth frawd-le Crist i'w roddi;
Gwerthaist dy enedigaeth fraint
  A theulu 'r saint, am wegi.

Ond er mor drwm yw pwys dy fai,
  Ni's gallaf lai na'th hoffi;
A throsot, pa beth bynnag ddaw,
  Byth, byth ni thaw fy ngweddi.

## Y PYMTHEGFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### ARWYDD Y GROES YN Y BEDYDD.

O hyn allan na flined neb fi: canys dwyn yr wyf fi yn fy nghorph nodau 'r Arglwydd Iesu. *Gal.* 6. 17.

YMFFROSTIA f' enaid drwy fy oes,
  Yn Sanctaidd Groes fy Arglwydd;
Wrth gofio am y Groes ei hun,
  'Rwy 'n hoff o'i llun a'i harwydd.

Er mwyn i'm ffydd gael cysur mawr
  O'i gwel'd bob awr o'm bywyd,
Argraphodd Duw ei delw bur
  Ar natur a chelfyddyd.

Dan faner hon ym Medydd gynt
  Dechreuais hynt filwrol
Yn erbyn temtiad gwên a gwawd
  Y byd, y cnawd, a'r diafol.

Yn nerth y Groes a'i rhinwedd llawn
  Yn wrol iawn ymladdaf,
Nes trechu 'n llwyr yngrym ei gras
  Y gelyn cas diweddaf.

Fe'm hunwyd i â Christ drwy ffydd
  Ym Medydd mewn cyfammod;
Modrwy 'r Brïodas hon drwy f' oes
  Yw Arwydd Croes fy Mhrïod.

Bellach yr Iesu gaiff fy mryd,
  Y cnawd a'r byd a wadaf;
'Rwy 'n eiddo Crist o fewn ei gail,[1]
  Mae nod fy Mugail arnaf.

[1] corlan.

Cospaf fy nghorph â cherydd llym
  I wywo 'i rym i bechu,
Oblegid yn fy nghorph 'rwy'n dwyn
  Nod Croes yr Addfwyn Iesu.

## YR UNFED SUL AR BYMTHEG GWEDI 'R DRINDOD.

### GWROLDEB GWEINIDOGAETHOL.

Tithau, fab dyn, nac ofna rhagddynt, ac na arswyda er eu geiriau hwynt, er bod gwrthryfelwŷr a drain gyd â thi, a thithau yn trigo ymysg ysgorpionau. *Ezec.* 2. 6.

Fel defaid, Arglwydd Ion ein plaid,
  Ynghanol bleiddiaid creulon,
I draethu d' eiriau yn eu plith
  Anfonaist Ti 'th ddisgyblion.

Gwrthnysig yn eu llidiog fâr,
  A gwrthryfelgar ydynt;
Er traethu d' eiriau ar bob llaw,
  Ni fynnant wrandaw mo'nynt.

Rhy lem yw cennadwri Duw,
  Rhy "galed yw 'r ymadrodd;"
Ymaith o'i swn dan wawdio 'r ant,
  Anghredu wnant o'u gwirfodd.

'Rwy 'n ofni gwg eu malais hên,
'Rwy 'n ofni gwên eu gwyneb;
O! helpa 'm henaid gwan, fy Nuw,
O'th nefoedd clyw ac atteb.

Rho nerth ac egni dwyfol im'
Heb ofni dim o'u cryfdwr,
I draethu d' Air heb arswyd neb
Na derbyn wyneb ungwr.

Yn erbyn eu talcennau hyf
Gwna 'm tàl yn gryf a gwrol;
Gwna 'm hwyneb fel yr adamant
Yn erbyn plant y diafol.*

Ynghanol fy ngelynion sydd
Yn curo beunydd arnaf
Fel tymhestl groch, rho nerth o'r nef
Yn llurig gref am danaf.

Gwna f' enaid ofnus eiddil gwan
Yn wrol dan y 'stormydd
I ddioddef min y cledd, os rhaid,
Neu 'r tân, ymhlaid dy grefydd.

* Wele, gwnaethum dy wyneb yn gryf yn erbyn eu hwynebau hwynt, a'th dàl yn gryf yn erbyn eu talcennau hwynt. Gwnaethum dy dalcen fel adamant, yn galettach na 'r gallestr. *Ezec.* 3. 8, 9.

## YR AIL SUL AR BYMTHEG GWEDI 'R DRINDOD.

### AT YR YMNEILLDUWYR.

Canys pob un o dŷ Israel, ac o'r dïeithr a ymdeithio o fewn Israel, a *ymneillduo* oddi ar fy ol i,—gosodaf fy wyneb yn erbyn y gwr hwnnw, a gwnaf ef yn arwydd ac yn ddïareb, a thorraf ef ymaith o fysg fy mhobl, fel y gwypoch mai myfi yw 'r Arglwydd. *Ezec.* 14. 7, 8.

GADAWSOCH Dŷ ac Eglwys Ner,
Ei Winllan bêr a'i Gorlan;
Ai da fydd hyn ger bron Duw nef
Pan chwilio Ef chwi allan?*

Llefaru 'r wyf, fy hun yn ffol,
Wrth rai synhwyrol doethfryd;
Barned eich pwyll a'ch rheswm chwi
Yr hyn 'rwyf fi 'n ddywedyd.

Os oedd ymenwi yn beth ffol
Ar enwau Paul a Cephas,
A yw ymenwi ar enwau *llai*†
Yn beth di fai ac addas?

Un Yspryd sydd, un Tad, un ffydd,
Un Bedydd ac un Iesu;
Mae 'n feddwl trwm, mae 'n feddwl trist,
Wahanu Crist a'i rannu.

* Ai da fydd hyn pan chwilio efe chwi. *Job* 13. 9.

† Megis enwau Calfin, Wesley, &c.

Ac un yw 'r Eglwys, un Corph yw—
  Pa fodd wrth fyw na marw
Y gellwch chwi, yn anad neb,
  Fod yn yr undeb hwnnw?

Ac os nad ydych yng Nghorph Crist,
  Nid ŷch yng Nghrist ei Hunan;
Rhaid bod yn hollol yng Nghorph Crist,
  Neu 'n llwyr o Grist fod allan.

A ydyw, felly, er eich bri,
  Eich cyflwr chwi 'n ddïogel?
Wna Pen y Corph, Tywysog Ffydd,
  Yr olaf ddydd eich arddel?

Ni waeth im' dewi, f' Arglwydd Dduw,
  Cildynnus yw eu hanian;
Byth ni wrandawant arnaf fi,
  Llefara Di dy Hunan.

Ac ar fy neulin i barhâu
  Gweddïaf finnau drostynt;
Fe allai llwydda hynny 'n fwy
  Na dim ddywedwy' wrthynt.

## Y DEUNAWFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### BORE SUL.*

Yr oeddwn i yn yr yspryd ar Ddydd yr Arglwydd. *Dat.* 1. 10.

RHEDODD fy wythnos bron i gyd
  Yngwaith y byd a'i gynnwr;
Breuddwydiais hefyd drwy y nos
  Am waith yr wythnos, neithiwr.

Ond heddyw torrodd gwawr y Sul
  Trwy ffenestr gul f' ystafell;
O nef fy Nuw y daeth yn rhodd,
  A'm bwth a drôdd yn Gangell.

Gan oleu 'r Dydd a'i nefol drem
  Yn dawel fe'm deffrowyd;
Fe sobrodd fy meddyliau i gyd,
  A ffôdd y byd a'i freuddwyd.

Mae testun gwell—daeth Iesu 'n fyw
  O'i feddrod heddyw 'n wyrthiol;
Mae 'r Sul, ym myd y drafferth flin,
  Yn Basg i mi 'n wythnosol.

* Ni elwir y Dydd cyntaf o'r wythnos un amser yn *Sabbath* yn y Bibl, ond gelwir ef yn *Sul* yn *Act.* 20. 16. (y *Sul*-gwyn): am hynny mwy ysgrythyrol, debygid, yw ei alw yn *Sul,* fel y gwna yr Eglwys, nac yn *Sabbath,* fel y gwna yr Ymneillduwŷr.

Arafwyd troell y byd a'i ffrwst,
  Mae twrf ei drwst yn ddistaw;
Mae hamdden im' i wrando cân
  Yr adar mân yn pyngciaw.

Celfydd yw cerdd eu tonau clir,
  Pe 'n gywir y'u deallem;
Ac i'm clust i, nid crug yw cân
  Yr araf frân a'i hanthem.

Yn gydgor gyd â'r adar mwyn
  Ym miwsig llwyn a llannerch,
Mae cloch y Llan, hyfryttaf swyn,
  A'i thonau mwyn i'm hannerch.

Caf heddyw, O! felusaf fraint,
  Fyn'd gyd â'r Saint i'r Eglwys;
Caiff f' enaid yng nghynteddau Ner
  Oddi wrth ei flinder orphwys.

Cawn fyn'd cyn hir yn dorf ddi ri'
  I'r nefoedd i orphwyso;
Try 'r Sul wythnosol, mewn gwell mawl,
  Yn Sabbath bythawl yno.

## Y PEDWERYDD SUL AR BYMTHEG GWEDI 'R DRINDOD.

### EMYN PLANT YR EGLWYS.

Oni ddarllenasoch chwi erioed, O enau plant bychain a rhai yn sugno y perffeithiaist foliant? *St. Mat.* 21. 16.

I Blentyn Mair, O blant, ynghŷd
Rhown fawl â'n hunfryd leisiau;
A derbyn Dithau, Iesu Glân,
Blentynnaidd gân ein genau.

O ganol aur delynau 'r nef,
Seraphaidd lef ddïorphwys,
Gostwng i wrando ambell dant
Yn nhelyn plant yr Eglwys.

O serch ar blant doist inni 'n Frawd
O farwol gnawd ac anian,
Gan dd'od i'n byd, o ddynol âch,
Yn Blentyn Bach dy Hunan.

Anghofit boen dy waith a'i bwys,
Anghofit ddwys och'neidio,
Pan geffit yn dy freichiau gwiw
Rai bychain i'w cofleidio.

Yn ymyl gwarth a phoen y Groes
A chwerwaf loes dy fywyd,
Hosanna 'r plant yn Nheml eu Duw
Esmwythai friw dy yspryd.

I Ti, wrth ddechreu 'r ymdrech fawr,
A'th olaf ddirfawr orchest,
'Roedd cân a llais y plantos mân
Yn ernes cân dy gongcwest.

Plant dy Fedyddfan ydym ni,
Ti 'n unig, Ti a'n piau;
Nodwyd ni oll ym more 'n hoes
Ag Arwydd Croes dy Angau.

Cofleidiaist ninnau, Iesu Mad,
Ym mreichiau 'th rad drugaredd;
Dyhidlaist arnom nefol wlith
Dy fendith a'th amgeledd.*

Ti roddaist yn dy fonwes fwyn
Dy dyner ŵyn i'w magu;†
Oh gad in' aros byth yngwres
Dy serchog fonwes, Iesu.

* Nac ammheuwch gan hynny, eithr credwch yn ddifrif, y cymmer Efe yr un ffunud yn amgeleddgar y dyn bychan yma, y cofleidia Efe ef â breichiau ei drugaredd, y dyry iddo fendith y bywyd tragywyddol, &c. *Gwasanaeth Bedydd Cyhoedd.*

† A'i fraich y casgl ei ŵyn, ac a'u dwg yn ei fonwes. *Esay* 40. 11.

## YR UGEINFED SUL GWEDI 'R DRINDOD.

### URDDO.

Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i ryw frenhin a wnaeth brïodas i'w fab, ac a ddanfonodd ei weision i alw y rhai a wahoddasid i'r brïodas. *St. Mat.* 22. 2, 3.

TYR'D, Yspryd Glân, i'n c'lonnau ni,
A dod d' Oleuni nefol;
Tydi wyt Yspryd Crist—dy ddawn
Sy fawr iawn a rhagorol.

Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ydynt dy eglur ddoniau;
Dod eli i'n llygaid fel i'th saint,
Ac ennaint i'n hwynebau.

Gwasgara Di 'n gelynion trwch,
A heddwch dyro inni;
Os T'wysog i ni fydd Duw Ner,
Pob peth fydd er daioni.

Dysg in' adnabod y Duw Dad,
Y gwir Fab Rhad a Thithau,
Yn un Trag'wyddol Dduw i fod,
Yr hynod Dri Phersonau.

Fel y molianner ym mhob oes
Y Duw a roes drugaredd,
Y Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân,
Da datgan ei Anrhydedd.*

* Cymmerwyd yr Hymn hon o Wasanaeth yr Urddiad.

## YR UNFED SUL AR HUGAIN GWEDI 'R DRINDOD.

### YR YMDRECH.

Nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol-lywiawdwŷr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysprydol yn y nefolion leoedd. *Ephes.* 6. 12.

BETH yw 'r ymdrech, beth yw 'r rhyfel,
 Welaf yn y maes gerllaw,
Pawb â'i lurig gref am dano,
 Pawb â'i gleddyf yn ei law?—
Byddin Satan yw honaccw,
 Lleng frwmstanaidd uffern dân;
Byddin Iesu yw honyma,
 Arfog lu yr Eglwys Lân.

Wele ffydd yn erbyn pechod,
 Gweddi 'n erbyn saethau 'r Fall;
Weithiau 'r naill o bleidiau 'r ymgyrch
 Sy 'n llwyddiannus, weithiau 'r llall;
Weithiau Satan sy 'n gorthrechu,
 Ond nid yw 'n gorthrechu 'n hir;
Er eu curo i lawr a'u clwyfo,
 Etto 'r Saint sy 'n ennill tir.

Gwelaf filwŷr Crist a'i grefydd
 O dan faner goch y Groes;
Dan y faner hon ymladdant
 Hyd anadliad ola 'u hoes:

Nodwyd Arwydd Croes eu Capten
  Ar dalcennau 'r rhai'n i gyd
Wrth gymmeryd arfau i fynu
  Yn erbyn pechod, cnawd, a'r byd.

Cwymp o flaen eu byddin fechan
  Gestyll cedyrn uffern fawr;
Chwal udganiad eu cyrn hyrddod
  Gaerau Jericho falch i lawr:
Eiddo 'r Arglwydd yw y rhyfel,
  Y cledd llym a'r darian gref;
Beth yw grym cyfrwysder uffern
  Wrth ddoethineb nerthol nef!

Filwŷr Sïon, na ddiffygiwch,
  Er milwrio 'ngwres y dydd;
Eiddoch chwi yw 'r oruchafiaeth,
  Perffaith oruchafiaeth ffydd:
Trechwyd eisoes eich gelynion
  Er eich mwyn gan Frenhin nef,
Ac ennillwch chwithau gongcwest
  Yn ei fuddugoliaeth Ef.

## YR AIL SUL AR HUGAIN GWEDI 'R DRINDOD.

### GWEDDI 'R ARGLWYDD.

Am hynny gweddïwch chwi fel hyn: Ein Tad, &c. *St. Mat.* 6. 9.

Pan weddïoch, dywedwch, Ein Tad, &c. *St. Luc* 11. 2.

" CYMMERWCH eiriau," medd Duw nef,
Pan arno Ef y galwoch;
" Cymmerwch eiriau gyd â chwi,
" Pan arnaf Fi gweddïoch."*

Pa eiriau 'n berffaith ffurf a gawn,
Pan atto 'r awn mewn gweddi?
A rydd Efe, o'i rasol waith,
Ffurf Gweddi berffaith inni?

Mae wedi rhoi:—daeth Duw ei Hun
I ddysgu i ddyn weddïo;
Rhoes inni Ffurf o Weddi wiw,
A hoff gan Dduw ei gwrando.

Tywalltaf f' enaid ger ei fron
Yngeiriau hon a'i hyspryd;
Mae Gweddi 'r Arglwydd im' fel hyn
Yn ffurf a chynllun hefyd.

* Cymmerwch eiriau gyd â chwi, a dychwelwch at yr Arglwydd. *Hos.* 14. 2.

Mae hon i'r cryf yn gadarn faeth,
  Mae hon yn llaeth i'r gweiniaid;
Mae ar bob pryd mor addas ran
  I'r cryf a'r egwan enaid.

Ac wrth ei harfer yn nerth gras,
  Gwell well yw 'r blas sydd arni;
Ac er ei hadrodd nos a dydd
  Mae fyth yn newydd immi.

'Does arnaf angen gan Dduw hael
  Am gaffael un deisyfiad
Nad ydyw, drwy ei ffurfiad doeth,
  Yng nghyfoeth ei chynnwysiad.

Pan ddysgai Crist ei Weddi i ni,
  Bwriadai roddi hefyd;
Mae pob erfyniad ynddi 'n glir,
  Fel hyn, yn wir addewid.

Mi af at orsedd gras fy Ner
  Yn fwy fy hyder weithian,
Gan gydio wrth fy ngweddi wael
  Ei Weddi hael ei Hunan.

Ni wrthyd Iesu roddi dim
  Y dysgodd im' ei ofyn;
Os archaf yn ei Weddi 'n iawn
  Mi gaf yn gyflawn dderbyn.

Y rhai sy 'n gwrthod geiriau hon
  Drwy hyfdra calon galed,
Yn lle 'u harferyd gyd â'r Saint,
  Ni wyddant faint eu colled.

## Y TRYDYDD SUL AR HUGAIN GWEDI 'R DRINDOD.

### CYFNEWIDIAD Y CORPH.

Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf a'i gorph gogoneddus Ef. *Phil.* 3. 21.

CYMMERODD Iesu gorph ei Hun
I brynu dyn i'w deyrnas;
Prynodd e 'n ddrud o'i gyflwr gwan,*—
Mae 'r corph yn rhan o'r pwrcas.

Buan yn llesg y plyga 'i warr,
Gan grymmu tu a'r ceufedd;
Marweiddio mae o ddydd i ddydd,
A marw fydd o'r diwedd.

Ond yn y nef, 'n ol oesoedd fyrdd,
Blodeua 'n wyrdd ac ieuangc;
Ni wywa 'i ddail, ni lwyda 'i frig,
Ei flagur drig yn ddidrangc.

Ni ddaw na chlefyd, haint, na chlwy',
Na phoenau mwy i'w erlyn;
Ni ddaw ansanctaidd chwant yn dân
Nac aflan nwyd i'w ennyn.

* Canys Crist, pan oeddym ni etto 'n *weiniaid,* mewn pryd a fu farw dros yr annuwiol. *Rhuf.* 5. 6.

Chwaled yr angau 'm pabell wan
  Yn chwilfriw pan y mynno;
Glân o'i gwahan-glwyf ni's gall fod
  Nes dan ei ddyrnod syrthio.*

O'r bedd hi gyfyd etto fry
  Yn nefol dŷ sancteidd-lan,
Heb fwlch na llygredd ynddi mwy,
  Na naws gwahan-glwy' aflan.

O ddedwydd fore hwnnw fydd,
  O ddedwydd ddydd disgleiriaf,
Ar ddelw bur fy Iesu Mawr
  O bridd y llawr pan godaf!

O fraint na's gall seraphaidd ddawn
  Fyth fyth yn llawn ei thraethu,
Cael codi i gadw 'r nefol ŵyl
  Fel corph fy anwyl Iesu!

* Yna doed yr offeiriad, ac edryched; ac wele, os lledodd y pla yn y tŷ, gwahan-glwyf ysol yw hwnnw yn y tŷ: aflan yw efe. *Yna tynned y tŷ i lawr, a'i gerrig a'i goed, a holl bridd y tŷ.* Lef. 14. 44, 45.

## Y PEDWERYDD SUL AR HUGAIN GWEDI 'R DRINDOD.

### YR EGLWYS YNG NGHYMRU.

Ni bu farw y llangces, ond cysgu y mae hi. *St. Mat.* 9. 24.

Na, na, nid marw, frodyr, yw
  Glân Eglwys Dduw yng Nghymru;
Ond mae, a rhaid cyfadde 'r gwir,
  Er's amser hir yn cysgu.

Fel Samson, cysgu 'n hir a wnaeth
  Ar liniau gwaeth dïogi;
Fel arno yntau, fe ddaeth plaid
  A llaw 'r Philistiaid arni.*

Ac yn ei chwsg ei thegwch ffôdd,
  Fe oerodd ei gweddïau;
Ei haddysg aeth yn sych ddi nodd,
  A phylodd ei phregethau.

Ei lamp ynghanol tywyll nos
  Fu agos a diffoddi;
A'r tân ar alch ei hallor, do,
  Bu bron a pheidio llosgi.

* Y mae 'r Philistiaid arnat ti, Samson. *Barn.* 16. 20.

Ac yn lle ceisio ei deffroi,
  Mae 'i phlant yn troi 'n anffyddlon
I gynneu swrn o allorau mân
  A dïeithr dân dych'mygion.

Fel Israel gynt o Deml eu Tad
  Mewn estron wlad bellenig,
Mae iau caethiwed ar ei gwarr,
  A'i thelyn ar yr helyg.

Ond heddyw gwell arwyddion sydd
  Fod teccach dydd yn gwawrio;
Mae Duw 'n adfywio 'r nefol dân,
  Mae 'r Eglwys Lân yn deffro.

Bydd etto 'n Heglwys cyn bo hir
  Yn degwch tir ein tadau,
Yn chware 'i thelyn gyd â'i phlant
  Heb ynddi dant yn eisiau.

Yr ammhlantadwy fydd yn fil,
  Yn fam i hil ehelaeth,
A'i phlant o galon oll yn byw
  Yn ufudd i'w rheolaeth.

## Y PUMMED SUL AR HUGAIN GWEDI 'R DRINDOD.

### AT DADAU A MAMMAU BEDYDD.

Pa le y mae 'r ddïadell a roddwyd i ti, sef dy ddïadell brydferth? *Jer.* 13. 20.

Ar ran ei phlant mae 'r Eglwys Lân
  A'i bron yn dân o draserch,
A'i phen a'i llygaid trist yn llyn,
  Yn anfon hyn i'ch annerch.

---

'Rwy 'n gofyn iwch' â chalon friw,
  A thyst yw Duw o'm cwynfan,
Pa le, gyfeillion, p'le mae 'm plant,
  Anwyl-blant fy Medyddfan?

Cymmer'soch hwynt o'm llaw, eu Mam,
  Nid trwy na cham na chymmell,
A mechnïasoch ar eu rhan
  O fewn fy Mhurlan Gafell.

Pa'm yn fy Nhŷ na welodd neb
  Braidd byth mo 'u hwyneb wed'yn?
Mae 'r gair mai chwi fu 'n gwneud eich rhan
  I'w troi o'r Llan i'm herbyn.

Llygrodd eich siampl eu tyner oed,—
  'Fu waith erioed creulonach;
Hudasoch hwy oddi wrth eu Mam
  I sugno llysfam afiach.

Pe rhoddai dyn ryw drysor bach
  I'ch gofal a'ch ymddiried,
Byddech bryderus nos a dydd
  I'w gadw 'nghudd a'i wylied.

Ond pan drosglwyddai Eglwys Naf
  I'ch llaw ei druttaf berlau,
O flaen y moch i'w sathru 'n drwch
  Y teflwch ei thrysorau.

Fy mherlau yw 'mhlant;—a'u gofal dwys
  Mewn rhan sy 'n gorphwys arnoch;
Ond ni ofelir am fy hil
  Gan un o fil o honoch.

Oes dim cywilydd ar eich grudd
  Am fod i'ch ffydd fath anair?
A dybiwch nad yw 'ch ammod im',
  Na'ch gair, yn ddim ond cellwair?

Nid ammhlantadwy wyf i'm hynt
  Mwy na 'r dydd gynt y'm gwelsoch;
Ond un amddifad *heb* ei phlant,
  A chwi a'm diblantasoch.

Am eu gwrthgiliad dygwch bwys
  A dïal dwys eu beiau;
Eu baich a orphwys ar eich gwarr,
  A'u gwaed fydd ar eich pennau.

Na fyddwch i fy Nuw a'i Dŷ,
  Esgeulus felly mwyach;
Byddwch, gan gofio 'r farn a ddaw,
  I mi rhagllaw 'n ffyddlonach.

## Y SUL NESAF CYN YR ADFENT.

### TEYRNAS Y MESSIAH.

**Wele 'r dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, y cyfodaf i Ddafydd Flaguryn Cyfiawn, a Brenhin a deyrnasa ac a lwydda, ac a wna farn a chyfiawnder ar y ddaear. *Jer*. 23. 5.**

DISTEWCH, d'wysogion beilchion byd,
Eich pennau i gyd gostyngwch,
Ymgrymmwch i Dywysog nef,
Ei fawredd Ef addolwch.

Wrth droed ei orsedd, i'w fawrhâu,
Eich aur goronau bwriwch;
Eich aur a'ch thus a'ch myrr o'ch bodd
I Hwn yn rhodd offrymmwch.

Barn a chyfiawnder fydd ei waith
Drwy 'r ddaear faith ei chwmpas;
Gwirionedd ac uniondeb llawn
Fydd deddf ei gyfiawn deyrnas.

Fe wywa Rhyfel waedlyd wedd,
Blagura Hedd difesur;
Y wayw ffon a droir yn swch,
A'r cleddyf trwch yn bladur.

Ni ddryga dim o fewn y tir
  Mo 'i ddeiliaid gwir na'i deulu;
Ar dwll yr asp yn ddigon iach
  Y plentyn bach a chwery.

Y llewpard brych a'r oen yn llon
  Ar lethr y fron cyd-brangciant;
Yr ych a'r llew heddychol fryd
  Eu gwellt ynghŷd a borant.

Ac yn lle 'r drain fu 'r tir yn ddwyn
  Fe gyfyd llwyn ffynnidwydd;
A thyf mewn gwyrdd flagurog fri,
  Yn lle mïeri, fyrtwydd.

Par'towch, par'towch ei lwybr o'i flaen,
  Ei ffordd yn lân arloeswch;
Yn groesaw Brenhin Sïon Sant
  Pob bryn a phant unionwch.

Hust! clywaf swn ei gerbyd aur
  Yn siglo bryniau 'r Orient;*
O! Henffych i'r Messïah Mawr,
  'Rwy 'n gweled gwawr ei ADFENT.†

* *Orient*, y Dwyrain. † *Adfent*, Dyfodiad.

## DYDD GWYL SANT ANDREAS.

### UFUDD-DOD PAROD.

HOLLALLUOG Dduw, yr hwn a roddaist gyfryw ras i'th fendigedig Apostol Sant Andreas, fel yr ufuddhaodd efe yn ebrwydd i alwad dy Fab Iesu Grist, ac a'i dilynodd Ef yn ddïoed; Caniatta i ni oll, wedi ein galw gan dy Air bendigedig, yn ebrwydd ymroddi o honom i gyflawni yn ufudd dy sanctaidd orchymynion, trwy yr unrhyw Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Y Colect am y Dydd.*

ER dweyd o Dduw mewn eglur iaith,
A llawer gwaith lefaru,
Ni ddeall dyn ei ddeddfau clir
Na'r geiriau gwir mae 'n draethu.*

Pa'm nad yw 'n deall? Am na fyn.
Mae 'n elyn calon iddo;
Ei galon gyndyn gas sy 'n cau
Ei glustiau rhag eu gwrando.

Fe geidw 'i fyddar glust ynghlô
Rhag gwrando 'i Dirion Luniwr;
A cheidw 'i warr rhag ufuddhâu
Dan esmwyth iau ei Brynwr.

* Y mae Duw yn llefaru unwaith, ïe, ddwywaith; ond ni ddeall dyn. *Job* 33. 14.

Ffieiddiach fyth yw 'r segur ffydd,
 Gwasanaeth crefydd glaiar,
Ysgogiad swrth ac ymgais gwan
 Ufudd-dod an'wyllysgar.

A ufuddhao i ddeddf yr Ion
 O eigion calon barod,
O gwyn ei fyd! Teilynga Duw
 Lawn wobrwy i'w ufudd-dod.

" Gad elw 'r byd, a'i chwant, a'i fri,
 " A dilyn Fi," medd Iesu;
" Gad frawd, a chwaer, a thad, a mam,
 " I'm dilyn a'm gwas'naethu."

Rho nerth i'th ddilyn, Iesu Mad,
 Wrth lais dy alwad nefol,
Heb wrando mwy ar swynion gau
 Na llais deniadau bydol.

Rho nerth i'th ddilyn drwy fy oes,
 Gan gyfri 'th Groes yn urddas,
Drwy dân a dwr, dros fryn a phant,
 Yn yspryd Sant Andreas.

## DYDD GWYL SANT THOMAS.

### ANGHREDINIAETH YN DIFLANNU O FLAEN CLWYFAU 'R GWAREDWR.

Yr wyf fi yn credu, O Arglwydd; cymmorth fy anghrediniaeth i. *St. Marc* 9. 24.

ANGHREDINIAETH cnawdol f' yspryd
Fu yn f' aflonyddu 'n hir;
Chwant i dreiddio i bob dirgelwch,
Yn lle credu 'n syml y gwir;
Tuedd falch i chwilio allan,
Drwy fy neall, arfaeth IOR,
Fel pe i fesur yn fy nghwppan
Eigion holl ddyfnderau 'r môr.

Yn y nos yr ymbalfalwn,
Er hiraethu am y dydd;
Ac yng nghadwyn drom caethiwed,
Er ymdrechu rhodio 'n rhydd:
Er gweddïo ac er gwrando
Ynghynteddau 'r Arglwydd Ri,
Gwrando a gweddïo 'n oerllyd
Byddai 'm calon galed i.

Gyd â'r Saint anturiais nesu
Dan fy maich at Allor Duw,—
Bwrdd i borthi 'r tlawd newynog,
Bwrdd i nerthu 'r egwan yw,—

Cefais yno megis gyffwrdd
  Corph drylliedig Iesu Glân,*
Yn y fan fe doddai 'm calon
  Fel y cŵyr o flaen y tân.

O fy Iesu Bendigedig,
  Golwg iawn ar Waed dy Groes
Sydd yn toddi mewn munudyn
  Holl galedwch creigaidd f' oes;
O hyn allan eiddot ydwyf;
  Ti i mi 'farw, Ti i mi 'fyw,
Tithau oll yn oll i minnau,
  Ti yw f' Arglwydd a fy Nuw.†

* Wedi hynny y dywedodd Efe wrth Thomas, Moes yma dy fys, a gwel fy nwylaw; ac estyn dy law, a dod yn fy ystlys; ac na fydd anghredadyn ond credadyn. *St. Ioan* 20. 27.

† A Thomas a attebodd ac a ddywedodd wrtho, Fy Arglwydd, a'm Duw. *St. Ioan* 20. 28.

## TROAD SANT PAUL.

Ac efe a syrthiodd ar y ddaear, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i? Yntau a ddywedodd, Pwy wyt ti, Arglwydd? A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Myfi yw Iesu, yr Hwn yr wyt ti yn ei erlid. *Act.* 9. 4, 5.

PA dorf yw hon ar brysur daith,
A'i bryd ar ryw fawreddig waith,
  Yn tynnu tu a 'r ddinas draw?
A phwy ei blaenor uchel drem,
Ac angau yn ei anadl lem,*
  A gwaed merthyrol ar ei law?†

O ganol nef mewn munud awr
Tywalltwyd ffrwd o oleuni i lawr,
  Yn llif o'i amgylch ar bob llaw;
Yntau ar lawr yn ddall ddi rym
Gan felltawg nerth y llewyrch llym
  Yn crynu oll gan ofn a braw.

Ynghyd â thanbaid lewyrch nef
Clywir accenion dwyfol lef,—
  "Saul, Saul, pa'm yr erlidi Fi?"
Oh! lef Mab Duw yn gref ei grym,
Yn dreiddiol fel y cleddyf llym,
  Llym, etto tyner, Saul, i ti.

* A Saul etto yn chwythu bygythiau a *chelanedd.* *Act.* 9. 1.

† A phan dywalltwyd gwaed Stephan dy ferthyr di, yr oeddwn i hefyd yn sefyll ger llaw, ac yn cyd-synio i'w ladd ef. *Act.* 22. 20.

Ac felly, Saul, i'r Iesu Gwiw
Y rhoddodd d' erledigaeth friw;
  Wrth rwymo 'i frodyr, clwyfaist Ef:
Cystudd aelodau ei Gorph Glân
Yng ngharchar d' erledigaeth dân
  Fe deimla 'r Pen yn uchder nef.

" Myfi yw Iesu;"—Ryfedd ras!
Efengyl i'r erlidiwr cas
  O enau 'r Iesu ei Hun a ddaeth;
Clwyfwyd, gorchfygwyd calon hyf
Blinwr y Saint, gan effaith cryf
  Dwys-bigiad llym y nefol saeth.

" Myfi yw Iesu;"—Dyna 'r gair
A drodd ei galon at Fab Mair,
  A dyna 'i bregeth tra fu byw;
Dilynwn ei bregethiad ef
Mewn dïolchgarwch i Dduw nef,
  Athrawiaeth gras a bywyd yw.*

* Caniatta, ni a attolygwn i ti, allu o honom ni, gan ddal ei ryfedd droedigaeth ef mewn coffa, ddangos ein dïolchgarwch i ti am yr unrhyw, trwy ddilyn dy fendigedig athrawiaeth yr hon a ddysgodd efe; trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.* *O'r Colect am y Dydd.*

## PUREDIGAETH Y FENDIGEDIG FAIR FORWYN.

### NUNC DIMITTIS.

Gwyn eu byd y rhai pur o galon; canys hwy a welant Dduw. *St. Mat.* 5. 8.

Y PUR o galon, gwyn eu byd,
Sy 'n disgwyl 'hyd eu dyddiau
Yn Nheml yr ION a'i Gyssegr gwiw,
Cant weled Duw yn ddïau.

Simeon hên ac Anna, de'wch,
Ei wel'd a gewch yn amlwg;
Yn ol hir ddisgwyl, daeth y dydd
A dry eich ffydd yn olwg.

Gwelwch eich Duw ym mreichiau Mair,
Y Dwyfol Air yn Faban,
Yn d'od heb rwysg o'i orsedd fry
I'w Deml a'i Dŷ ei Hunan.*

Gwrandewch, O Anna galon bur,
A Mair, a llu 'r Angylion,
Cymmer i'th freichiau 'r Iesu Glân,
A dechreu 'th gân, Simeon.

CAN SIMEON.

Yr awrhon, Arglwydd, yn dy ras
Gollyngi 'th was mewn heddwch,
Yn ol dy air sydd wir i gyd,
I wynfyd a thawelwch.

* Yn ddisymmwth y daw 'r Arglwydd, yr hwn yr ydych yn ei geisio, i'w Deml. *Mal.* 3. 2.

Fy llygaid welsant heddyw 'n glir
  Ddiddanwch gwir dy weision;
'N ol disgwyl hir, i'm breichiau daeth
  Dy iachawdwriaeth rasion.

Tydi a'i parottoaist, Ior,
  Erioed cyn seilio 'r nefoedd,
Ac a'i datguddiaist, i'n hiachâu,
  Ger bron wynebau 'r bobloedd.

Goleuni i'r Cenhedloedd fydd,
  A llewyrch dydd hyfrydlon;
Ac i'th bobl Israel, ethawl had,
  Gogoniant mad a choron.

I'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân
  Dyrchafer cân clodforedd:
Fel gynt yr oedd, y mae 'n ddi lyth,
  A phery byth heb ddiwedd.

## DYDD GWYL SANT MATTHIAS.

### FFYDDLON WEINIDOG CRIST.

Yr ydys yn disgwyl mewn goruchwylwŷr gael un yn ffyddlon. 1 *Cor.* 4. 2.

Os mynni fod i Grist a'i Grog
  Yn wir Weinidog addas,
Rhaid it' ei gyfrif drwy dy oes,
  A'i anwyl Groes, yn urddas.

Yn gyntaf, cais fod nos a dydd
  Yn dyst, drwy ffydd, o'i fywyd;*
Boed ar dy fuchedd argraph mad
  Ei Lân Groeshoeliad hefyd.†

O galon rhaid boddloni bod
  Yn ufudd aelod diswydd
Yn Eglwys Ner, cyn ceisio rhan
  Swyddogaeth gan yr Arglwydd.‡

Os teimli ysfa cnawdol flys
  I weini yn Llys yr Iesu,
Cofia nad galwad y Duw Da
  Yw blysig ysfa felly.

Os mynni gael yr Urdd yn llawn
  I ddangos dawn dy dafod,
Tân dïeithr yn dy thuser yw,
  A rhagddo Duw fo 'n gwarchod.

Caiff tafod hyawdl yn dy fro
  Dyrfaoedd o ganlynwŷr;
'Does dim sy well gan gnawdol chwaeth
  Na thafod ffraeth pregethwŷr.

* Mae 'n rhaid, o'r gwŷr a fu yn cyd-ymdaith â ni yr holl amser yr aeth yr Arglwydd Iesu i mewn ac allan yn ein plith ni,—bod un o'r rhai hyn gyd â ni yn dyst o'i adgyfodiad Ef. *Act.* 1. 21, 22.

† Gan gylch-arwain yn y corph bob amser farweiddiad yr Arglwydd Iesu, fel yr eglurhaer hefyd fywyd Iesu yn ein corph ni. 2 *Cor.* 4. 10.

‡ Dilynodd St. Matthïas ein Harglwydd drwy ystod ei weinidogaeth gyhoeddus, er nad oedd yn un o'r Deuddeg.

Clyw 'r gwych bregethwr accw, ust!
  Yn denu clust y miloedd,
A'i goeg hyawdledd, addurn gau,
  Yn drewi yn ffroenau 'r nefoedd.

Gwel danio nwydau 'r dorf yn waeth
  Gan lais ei ffraeth bregethiad;
Dyna 'r ffieidd-dra cnawdol fryd
  A eilw 'r byd, arddeliad.

Crefydd y Groes a deddfau 'r Ion
  Yn ffyddlon os pregethi,
A'th eiriau 'n sobr a syml i gyd,
  Ni's gall y byd dy hoffi.

Darn-guddia beth o 'Fengyl nef,
  Daw gwlad a thref i'th ddilyn;
Pregetha di Air Duw i gyd,
  A thry y byd yn elyn.

Dewis ffyddlondeb gwrol llym,
  Mewn llurig grym ysprydol,
(Gwas Duw wyt ti, ac yn ei ŵydd,)
  Yn lle poblogrwydd bydol.

Dirmyga wobrau clod y byd,
  Ei wobrau i gyd sy weigion;
Gan Grist ei Hun, ar ben dy daith,
  Yn wobr dy waith cei 'r Goron.

## CYFARCHIAD MAIR WYRYF FENDIGEDIG.

### MAGNIFICAT.

Tewais yn ddistaw; ie, tewais â daioni. *Psalm* 39. 2.

OH! f' Awen, taw, rhag gwneuthur cam
 A Sanctaidd Fam fy Arglwydd;
Fy nhafod bloesg addoli wna
 Mewn syndod a distawrwydd.

Dan bwys dy Gennadwri ddofn
 Mae arnaf ofn; 'rwy 'n aflan;
Rhag i mi ddweyd anaddas air,
 Llefara, Mair, dy hunan.

### CAN Y FENDIGEDIG FAIR FORWYN.

Fy enaid sy 'n mawrhâu fy Nuw,
 Fy Arglwydd yw a'm Prynwr;
Llawen mewn cân a mawl o hyd
 Yw 'm hyspryd i'm Hiachawdwr.

Ar ei law-forwyn ffyddlon, Ef
 O entrych nef edrychodd,
A'm gwael iselder ar y llawr,
 O'i ras, a fawr ddyrchafodd.

Wele, gan bawb â genau gwir
 Y'm gelwir yn Fendigaid;
Mawr allu 'r Ion mewn hylon hedd
 Fawrygodd waeledd f' enaid.

Sanctaidd yw Enw Mawr ein Duw,
Sancteiddrwydd yw ei foliant;
Ei ras a'i hedd, fel môr di drai,
Sy byth i'r rhai a'i hofnant.

Braich a chadernid iddo sydd,
Mae 'n Llywydd ar blant dynion;
I'r gostyngedig mae yn Dad,
Ond gwasgar frad y beilchion.

Cedyrn frenhinoedd hyd y llawr
O'u huchder mawr a dynnodd;
Yr isel radd a'r tlawd, cu Ner
O'u dwfn iselder gododd.

Y gwael a leinw â phethau da,
Y tlawd a wna 'n gyfoethog;
Ond enfyn ymaith, pan y daw,
Yn waglaw y goludog.

Cyfnerthodd Isräel ei was
Drwy air ei ras yn ddiball,
Gan gofio ei drugaredd rad;—
Nid oes gyfnerthiad arall.

Wrth Abraham ein ffyddlon dad,
Ac wrth ei had o'r newydd,
Fel hyn y tyngodd gynt y gwnai,
A'i air a sai 'n dragywydd.

---

I'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân
Dyrchafer cân clodforedd:
Fel gynt yr oedd, y mae 'n ddi lyth,
A phery byth heb ddiwedd.

## DYDD GWYL SANT MARC.

### BWHWMMAN.

Fel na byddoch mwyach yn blantos, yn bwhwmman, ac yn eich cylch-arwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy hocced dynion, trwy gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo. *Ephes.* 4. 14.

Ni ddirnad plentyn ragor gwerth
  Y pres a'r drudwerth emmau;
Try heibio berlau drutta 'i fam
  I'w newid am deganau.

Mor fuan ar ei degan hên
  Y blina 'r bachgen blysig;
Moeswch deganau n'wyddion gant,
  I gadw 'r plant yn ddiddig!

" Tydi yw 'r gwr," 'Neillduwr ffol,
  Mae 'th waith yn ol fy nammeg;
Os ffol yw plentyn moethus blin,
  Mae 'ch ffoledd chwi 'n ychwaneg.

Mynnwch *gysgodau* pethau da,
  Yn hytrach na *sylweddau;**
Gwerthasoch berlau drutta 'ch Mam,
  I'w newid am deganau.

* Nid yw 'r Sacramentau gyd â'r Ymneillduwŷr, yn ol eu cyfaddefiad hwy eu hunain, ond arwyddion neu gysgodau; ond y maent yn yr Eglwys yn sylweddau.

Mae gan bob sect ei ffordd ei hun,
  Fel plentyn i fwhwmman;
Rhaid i bob un, fel plentyn, gael
  Ei thegan gwael ei hunan.

Wrth fympwy 'r oes a'i hawel, gwn
  Rhaid newid hwn yn fynych;
Y pethau 'r llynedd oedd mewn bri,
  Nid hoff eleni gennych.

Sefydlog fwyd athrawiaeth iach
  Eich archwaeth afiach gwrthyd;
Rhaid newid eich dysgleidiau chwi,
  I dorri blys afiechyd.

Chwythed y gwynt, ni's gwaeth o b'le,
  O'r gogledd, de', neu 'r dwyrain,
Chwi gym'rwch gan yr awel wan
  O fan i fan eich arwain.

Nid ydwyf, wrth weinyddu 'r sen,
  Ddim am eich pen yn chwerthin;
Ond synnu 'ch bod o hyd yn dal
  Mor feddal, rhwydd, a hydrin.

Mae, ar bob troad awel dysg,
  Rai yn eich mysg yn gwylio,
Gan gyfrwys gynllwyn nos a dydd
  Am adeg rydd i'ch twyllo.

O'ch hoff "newyddian yn y ffydd,"
  Mawr elw sydd i'ch twyllwŷr;
Mae 'ch ehud anwadalwch chwi
  Yn ennill i hoccedwŷr.

Llawer yw pyngciau gau ein tir,
Ond *un* yw 'r wir athrawiaeth;
Gair Duw yn unig saif mewn bri
Yn hollol ddi newidiaeth.

Llawer yw 'r sectau o bob rhyw,
Ond *un* yw Duw a'i Eglwys;
Mi fwriaf, mewn newidiol fôr,
Fy angor yno i orphwys.

## DYDD GWYL SANT PHYLIP A SANT IAGO.

### CRIST OLL YN OLL.

Myfi yw 'r Ffordd, y Gwirionedd, a'r Bywyd. *St. Ioan* 14. 6.

Agorwyd ffordd i'r nef
Gan Iesu ar y pren;
A Thi dy Hunan, Iesu Mawr,
Yw 'r Ffordd i'r nefoedd wen.

Gwirionedd ydyw 'r Ffordd
I'n traed crwydredig ni;
A'r Pur Wirionedd Perffaith hwn,
Fy Iesu, ydwyt Ti.

Mae 'r Ffordd, o'i theithio 'n iawn,
Yn Fywyd i bob un;
A Thithau, Iesu grasol, byth
Yw 'r Bywyd hwn dy Hun.

Rho ras i rodio 'r Ffordd
  Yn union lwybrau 'r Gwir;
Gan deithio yn ôl traed y praidd
  Nes myn'd i'r nefol dir.

Rho nerth i rodio 'r Ffordd,
  Nid dan arweiniad dyn;
Yn ôl dy draed tywyser fi,
  Dy gamrau Di dy Hun.

## DYDD GWYL SANT BARNABAS.

### YMWELIAD A CHYMMUN Y CLAF.

Barnabas—yr hyn o'i gyfieithu yw, Mab Diddanwch;—Lefiad. *Act.* 4. 36.

Pan oedd fy meddwl gynt yn drwm,
  A chlefyd gorthrwm arnaf,
Meddyliodd, yn f' iselder trist,
  Offeiriad Crist am danaf.

Y Lefiad gynt, er gwel'd y gwall,
  Troes o'r tu arall heibio;*
Y Lefiad hwn, daeth attaf fi,
  I'm llonni a'm cysuro.

* A'r un ffunud Lefiad hefyd, wedi dyfod i'r fan, a'i weled ef, a aeth o'r tu arall heibio. *St. Luc* 10. 32.

Ei nefol wedd a'i eiriau gwin
  A bylent fin fy nghlefyd;
A chysur ei gynghorion mad
  Oedd fel adferiad bywyd.

Darllenai a gweddïai 'n ddwys
  Yngeiriau 'r Eglwys Burlan;
Gweinyddai im' ddarpariaeth Hon
  I nerthu 'm calon egwan.

Fe huliai 'r Bwrdd â gwledd Duw hael,
  Wrth fur fy ngwael ystafell;
Fy 'stafell wael, O feddwl syn!
  A droes fel hyn yn gangell.

Cyfrannai 'n sobr i'm henaid tlawd
  Bur Waed a Chnawd fy Iesu;
Ei Gnawd i dorri 'm newyn i,
  A'i Waed i'm disychedu.

Ymg'leddai 'm henaid tlawd fel hyn
  Ag olew bryn Calfaria;
Ac yn fy nwfn archollion rhoes
  Win Angau Croes Golgotha.*

Yna diddanai f' yspryd trist,
  Wrth son am Grist a'i Angau,
A gwynfyd bythol nef y nef,
  Bod gyd âg Ef a'r seintiau.

* Ac a aeth atto, ac a rwymodd ei archollion ef, gan dywallt ynddynt *olew a gwin.* *St. Luc* 10. 34.

Ac nid anghofiai 'm corph ychwaith,
Cyflawnodd ganwaith f' angen;
Tosturiai wrth fy nhlodi gwael,
A rhoddai 'n hael elusen.

O! bendith arnoch, Lefiaid gwiw,
Offeiriaid Duw yr heddwch,
Chwi Farnabasiaid hael ein tir,
A Meibion gwir Ddiddanwch.

---

## DYDD GWYL SANT IOAN FEDYDDIWR.

### BENEDICTUS.

Wele mi a anfonaf i chwi Elïas y prophwyd, cyn dyfod dydd mawr ac ofnadwy 'r Arglwydd. *Mal.* 4. 5.

O HENFFYCH, Zacharïas Lân,
Ennyned tân dy Awen;
Esgyned i'r uchderau 'n hyf
Ehediad cryf ei haden.

Siriola di 'n calonnau trist,—
Rhag-flaenydd Crist a gawsom;
Elïas yr addewid ddaeth
Drwy rym yr arfaeth attom.

Yr wyt yn fudan er ys talm,
Moes bellach Psalm o ganu;
Dattod dy dafod, traetha gân,
Mae 'r Yspryd Glân i'th ddysgu.

## CAN ZACHARIAS.

Duw Israel byth Bendigaid fo,
Pob tafod iddo caned;
Ymwelodd yn ei ras yn awr
A'i bobl â mawr ymwared.

Trwy nerth ei fraich dyrchafu wnaeth
Gorn iachawdwriaeth inni
Yn nhŷ Ddafydd ei ffyddlon was;
Mae 'n addas ei glodfori.

Trwy enau ei Brophwydi gwir,
Y rhai i'n tir anfonodd,
Fel hyn, er oesoedd bore 'r byd,
O bryd i bryd addawodd.

Trwy hyn ymwared inni ddaw
O ddwylaw ein gelynion;
Ein Duw a'n dwg, heb un ar goll,
O faglau 'n holl gaseion.

Wele gwblhâu trugaredd Ion,
Ei rad i ddynion roddodd;
Ac wrth ein tadau, er ei glod,
Ei lân gyfammod gofiodd;

Ei lŵ i Abraham ein tad,
Ar roi rhyddhâd o'n caethder,
O law pob gelyn is y rhod,
A'n gosod mewn ehangder;

I'w wasanaethu Ef yn iawn
  Mewn byd sy 'n llawn gorthrymder,
Holl ddyddiau 'n hoes, heb ofni neb,
  Mewn purdeb a chyfiawnder.

Tithau, fachgennyn, prophwyd gwir
  Y'th elwir i'r Goruchaf;
O flaen ei wyneb Ef yr âi
  A'i ffyrdd a wnai 'n barottaf:

I roi i'w bobl wybodaeth iawn
  O'i iechyd llawn a'i ddoniau,
Trwy dderbyn ei faddeuant rhad
  O'u hanfad anwireddau.

O fawr diriondeb Duw a'i hedd,
  Ac o'i drugaredd dyner,
Ymwelodd â ni Godiad Haul
  Mor araul o'r uchelder,

Yn llewyrch pur i'r rhai sy 'n bod
  Mewn nos a chysgod angau;
I ddwyn i ffordd tangnefedd lawn
  Yn gywir iawn ein camrau.

---

I'r Tad a'r Mab a'r Yspryd Glân
  Dyrchafer cân clodforedd:
Fel gynt 'r oedd, y mae 'n ddi lyth,
  A phery byth heb ddiwedd.

## DYDD GWYL SANT PETR.

A phan oedd Herod a'i fryd ar ei ddwyn ef allan, y nos honno yr oedd Petr yn cysgu rhwng dau filwr. *Act.* 12. 6.

Pwy sy 'n cysgu rhwng y milwŷr
  Ynghadwynau 'r carchar du,
Heb arswydo cleddyf Herod
  Uwch ei ben sy 'n hongian fry?
Cwsg un nad yw 'n ofni marw
  Er mwyn achos Eglwys Dduw,
Cwsg Apostol anwyl Iesu,
  Cwsg cydwybod esmwyth yw.

Wele wên ar gwrr ei wefus,
  Wele 'i wyneb fel yn llon;
Ai rhyw freuddwyd pur, adeiniog,
  Ddaeth o'r nef i'w sanctaidd fron?
Gwel ei hun, fe allai, 'n rhodio
  Tonnog fôr Tiberias draw,
A'i hoff Iesu, rhag ei suddo,
  Yn ymaflyd yn ei law.

Neu, gwel Iesu ar y mynydd,
  Yn disgleirio fel y nef,
Ef, a Moses, ac Elïas,
  Mewn cyfeillach felus gref;
Yntau 'n prysur wneuthur pebyll,
  Trigfan i'r Cenhadon Hedd;—
Gwell pen mynydd gyd â'r Iesu,
  Nag aur balas heb ei wedd.

Neu, fe 'i gwel dan boen a dirmyg
  Yn y llys dan bwys ei waith;
Clyw yn euog lais y ceiliog
  Draw yn canu 'r drydedd waith;
Yna 'r Iesu 'n edrych arno,—
  Edrychiad argyhoeddiad nef;
Yntau 'n cilio i edifaru
  Mewn wylofain chwerw lef.

O! 'fu 'rioed y fath edrychiad,
  Llawn o gerydd, llawn o ras;
Golwg ddig, ac etto 'n addfwyn,
  Nes oedd ganddo 'i hun yn gas;
Golwg Duwdod wedi sorri,
  Golwg Cyfaill yn tristâu;
Golwg lem, yn lladd y galon,
  Etto golwg yn iachâu!

Neu, mae 'n gwel'd ei hun a'i frodyr
  Yn y 'stafell drist ynghŷd,
Wedi claddu Corph eu Harglwydd,
  Gwrthrych hoffa 'u serch a'u bryd;
Yntau 'n dod yn sydyn attynt,
  Dan ôl hoelion Angau 'r Pren,
Gan gyhoeddi llawn "Dangnefedd,"
  Heb edliwiad, gwg, na sen.

Os yw Petr yn cysgu 'n dawel,
  Effro yw 'r Eglwys ar ei ran;
Daw o'u gweddi daer i Cephas
  Waredigaeth yn y man.
Wele 'r Angel yn ei garchar,
  Nos ei gell yn oleu ddydd,
Yntau 'i hun, cyn gorphen deffro,
  O'i gadwynau oll yn rhydd.

Mae 'r porth haiarn yn ymagor
  O'i waith ei hun i was y nef;
Nid pyrth heiyrn na phres ddorau
  Ettyl lwyddiant gweddi gref:
Siommwyd Herod, siommwyd uffern,
  I Pedr 'r oedd etto orchwyl maith;
Mae gwir weision Duw 'n anfarwol,
  Hyd nes gorphen gwneud eu gwaith.

## DYDD GWYL SANT IAGO.

### CWPPAN CRIST.

A ellwch chwi yfed o'r cwppan yr ydwyf fi ar yfed o hono, a'ch bedyddio â'r bedydd y bedyddir fi? Dywedasant wrtho, Gallwn. *St. Mat.* 20. 22.

Ac efe a laddodd Iago brawd Ioan â'r cleddyf. *Act.* 12. 2.

Henffych, Iago Sant yng Ngwynfyd,
  Mae 'th wedd yn hardd, a'th wisg yn wen;
Palmwydd nefol sy yn dy ddwylaw,
  Coron Merthyr ar dy ben;
Gwyddost heddyw beth yw yfed
  Cwppan Iesu yn y nef,
Cwppan lawn o ddwfr y bywyd,
  Cwppan gwin ei gariad Ef.

Ond yn gyntaf profaist gwppan
  Ing merthyrol angau loes;
Cwppan Crist oedd honno hefyd,
  Cwppan myrllyd win ei Groes.

Fe 'i bedyddiwyd yn llifeiriant
  Ymchwydd tonnau llid y nef,
Cefaist tithau dy fedyddio
  Yn ei fedydd tonnog Ef.

" Gallwn," gallwn, Arglwydd Iesu,
  Os rhoi Di dy rasol nerth,
Ddilyn ôl dy sanctaidd gamrau
  Ar hyd llwybrau geirwon serth:
" Gallwn" yfed Cwppan Marah
  Ar ein taith drwy 'r crindir cras,
Ond cael nefol Bren y bywyd
  I bereiddio 'i chwerw flas.

Beth yw poenau 'r ddaear isod
  Wrth ddedwyddwch nefoedd wen?
Beth yw chwerwder dyfroedd Marah
  Wrth bereidd-dra 'r bywiol Bren?
Yfwn, frodyr, yma 'n llawen
  Gwppan Crist â'i myrllyd flas,
Hyn a bair felusach yfed
  Yn y nef o Win ei ras.

## DYDD GWYL SANT BARTHOLOMEUS.

### Y GWEINIDOG PROFIADOL.

Yr hyn a welsom ac a glywsom yr ydym yn ei fynegi i chwi. 1 *St. Ioan* 1. 3.

Pwy welaf yn y dirgel draw
Yn taer weddïaw 'n ddwysfryd?
Dan y ffigys-bren cwyd ei lef,*
A lleinw 'r nef ei yspryd.

Gweinidog Crist a'i Eglwys yw—
Mae hwn yn byw mewn gweddi;
Ond etto 'n bennaf wrtho 'i hun,
Lle na's clyw dyn mo honi.

Wele Israeliad yma 'n wir,
O galon gywir uniawn;
Ni thrig rhagrithiol dwyll y byd
O fewn ei yspryd cyfiawn.†

Fe deimla 'i galon brofiad clir
O'r geiriau gwir a draetha;
Yr hyn a ŵyr ei hun yn dda,
I eraill a fynega.

* Y farn gyffredin yw mai gweddïo yr oedd Nathanael, (sef Bartholomeus) dan y ffigysbren, pan alwodd Phylip ef. Gwel *St. Ioan* 1. 48.

† Iesu a ganfu Nathanael yn dyfod atto, ac a ddywedodd am dano, Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll. *St. Ioan* 1. 47.

Fel hyn o'i enau yn Nhŷ Dduw,
  Mae 'r Weddi 'n fyw a nerthol;
Y Credo pur, y Llith, a'r Psalm,
  Yn win a balm iachaol.

Wrth son am rinwedd Crist a'r Iawn
  Ei enaid llawn sy 'n llonni;
Gŵyr ffynnon Gwaed y Groes a'i gwaith,
  Ymolchodd ganwaith ynddi.

Wrth son am ffrwythau 'r Ganaan dir,
  Fe ŵyr mai gwir yw 'r geiriau;
Fe brofodd, drwy drugaredd Ior,
  Ei hunan o'r grawn-sypiau.

Am bur ddedwyddwch nef y nef
  Ei brofiad ef sy 'n gwybod;
Mae nefoedd fechan, ernes hon,
  O fewn ei fron yn barod.

Dy Weinidogion, Arglwydd Ner,
  Gwisg â Chyfiawnder nefol;
O ddwyfol ddawn Sancteiddrwydd glân
  Eu henaid gwna 'n brofiadol.

## DYDD GWYL SANT MATTHEW.

### POB PETH YN DOM AC YN GOLLED ER MWYN ENNILL CRIST.

Ac fel yr oedd yr Iesu yn myned oddi yno, efe a ganfu wr yn eistedd wrth y dollfa, a elwid Matthew, ac a ddywedodd wrtho, Canlyn fi. Ac efe a gyfododd ac a'i canlynodd ef. *St. Mat.* 9. 9.

PA beth yw cyfoeth drutta 'r byd,
Ei aur i gyd a'i arian,
Ond gwagedd a gorthrymder blin,
Pe 'u ceid i'w trin yn gyfan?

Er ennill yr holl fyd yn grwn,
Pa les wna hwn i'n henaid,
Os, er ei gael, y byddwn byw
O ras ein Duw 'n amddifaid?

Cyfnewid gwael cael daear lawr
A'i golud mawr yn goflaid,
Cael holl ddanteithion môr a thir,—
Er hynny colli 'r enaid!

Y ddaear gron, yr haul, a'r ser,
A'i air Duw Ner a greodd;
Ond canmil druttach enaid dyn
A'i waed ei Hun a brynodd.

Pan losgo cyfoeth daear hen,
  A gwywo gwên ei gwynfyd,
Ni bydd yr enaid,—f' enaid, clyw,—
  Ond dechreu byw mewn eilfyd.

Ymaith! deganau gwag y byd,
  Ni chewch fy mryd yn rhagor;
Ce's olud gwell na 'ch moethau 'n un,
  Ce's Groes fy Iesu 'n drysor.

Mwy golud dirmyg Crist a'i Groes,
  Er mynych loes a chleisiau,
Na thrysor byd, ei barch, a'i glod,
  A sorod ei bleserau.

Mae 'r Groes i'r Cristion, er yn wan,
  A'i diodde 'n gan' dedwyddach
Na mwyniant pura 'r cnawd a'r byd;—
  Hon yw fy mywyd mwyach.

Er holl ddeniadau 'r byd a'r cnawd,
  Ac er eu gwawd, mi godaf
Wrth alwad Crist, ac ar ei ol
  Ei lwybrau grasol rhodiaf.

Drwy ras dilynaf, dan y groes,
  Ar hyd fy oes, fy Iesu;
Caf goron yn ei lle cyn hir,
  Yn nefol dir y canu.

## DYDD GWYL SANT MIHANGEL A'R HOLL ANGYLION.

Cerbydau Duw ydynt ugain mil, sef miloedd o Angylion. *Psalm* 68. 17.

O HENFFYCH! bur gantorion nef,
  Mor bêr eich llef yn canu
Ar nablau aur ganiadau hedd
  O amgylch gorsedd Iesu!

O ganol Côr y nef yn awr
  Am blant y llawr meddyliwch,
Sy 'nghanol rhyfel, poen, a brad,
  Heb gyrraedd Gwlad yr Heddwch.

Ystyriol yw eich calon bur
  Wrth ddynol deulu 'r ddaear,
A chyd-ymdeimlo beunydd mae
  A'n gwynfyd, gwae, a'n galar.

Canasoch, Sêr y Bore, 'n bêr
  Am waith Duw Nêr yn Eden;
Gorfoleddasoch, Feibion Duw,
  Am greu dynolryw, 'n llawen.*

* Pan gyd-ganodd sêr y bore, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw. *Job* 38. 7.

Ond safech dan gyd-wylo 'n brudd,
  Ar fachlud dydd ei wynfyd,
I gau rhag dyn y ffordd i'r nen,
  A llwybrau pren y bywyd.*

Ar ysgol Jacob teithiech gynt
  Ar rasol hynt yn llawen,
I ddangos inni brif-ffordd rad
  I amgen gwlad nag Eden.

Deuech o'r nef o bryd i bryd
  I lawr i fyd y galar;
Cyfrifech, er eich urdd, yn fraint,
  Gyfeillach Saint y ddaear.

Daethoch, un plygain, yn llu mawr
  I gyd i lawr i Bethle'm,
Lle clywodd uffern, daear a nef
  Soniarus lef eich anthem.

Ewyllys da 'r Goruchaf Un,
  A hedd i ddyn colledig,
Oedd oslef mwyn, i Blentyn Ner,
  Eich Carol pêr Nadolig.

Trechwyd un Adda gan y Fall,
  Ond trech fu 'r Llall na 'r temtiwr;
Pan drechai 'r Fall a'r temtiad hir,
  Gweiniasoch i'r Cyfryngwr.†

* Efe a osododd—y cerubiaid—i gadw ffordd pren y bywyd. *Gen.* 3. 24.

† Ac efe a fu yno yn y diffaethwch ddeugain niwrnod yn ei demtio gan Satan;—a'r angylion a weiniasant iddo. *St. Marc* 1. 13.

Yn rhydd, á Duwdod yn ei wedd,
O rwymau 'r bedd pan gododd,
I'w Seintiau trist, ei anwyl rai,
Chwi 'n gyntaf a'i hyspysodd.

A phan esgynodd i'r nef wen
Tu draw i'r llen allanol,
Addawsoch iddynt, Sereiph mad,
Ei ail ddyfodiad nerthol.

Bryd hyn o'r nef fel cwmmwl tân
O gylch ei Làn Orseddfa
Y dowch i gasglu ei berlau 'nghŷd,
Gwerth pryniad drud Calfaria.

Rho edifeirwch bywiol im',
Fy Nuw, i doddi 'm calon;
Bydd hynny 'n glod i Ti, a gwir
Lawenydd i'r Angylion.*

Ac yna ar dy nefol wedd
O waelod bedd caf godi,
" A chyda â holl gwmpeini nef"
A llafar lef dy foli.

* Y mae llawenydd yngŵydd angylion Duw am un pechadur a edifarhao. *St. Luc* 15. 10.

## DYDD GWYL SANT LUC.

### Y CLAF A'R MEDDYG.

Luc y physygwr anwyl. *Col.* 4. 14.

—Rhynged bodd i ti, trwy iachus feddyginiaeth ei ddysgeidiaeth ef, iachâu holl heintiau ein heneidiau, trwy haeddedigaethau dy Fab Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*O'r Colect am y Dydd.*

Y CLAF.

Mi ddaethum heddyw at dy ddor,
  Drugarog Ior, i guro;
O moes dy glust i wrando 'nghais,
  A chlyw fy llais yn cwyno.

Y MEDDYG.

Pa beth a geisi, adyn tlawd?
  Nac ofna wawd na cherydd;
Mewn hyder adrodd yma 'th gwyn
  Ger bron dy Addfwyn Brynydd.

Y CLAF.

Afiachus ydwyf, claf, a gwael,
  Dois yma i gael amgeledd;
Clywais y medri Di iachâu
  Y clefyd mau a'm llesgedd.

Y MEDDYG.

Traetha di 'n gyntaf wrthyf Fi
  Pa fodd 'rwyt ti yn teimlo,
A dywed wrth y Meddyg Da
  Pa le mae 'th bla 'n dy flino.

Y CLAF.

Mae 'm corph yn glwyfus oll a gwan,
Nid iach un man o honof;
A chlaf yw 'm henaid trwyddo i gyd,
" Ac nid oes iechyd ynof."

Egwan i gyd a llesg y'm gwnaed
O'r pen i'r traed afiachus;
Claf yw 'r aelodau oll o'r bron,
A llesg yw 'r galon glwyfus.*

Drylliodd fy esgyrn gan fy mriw,
A phwdr yw lliw fy nghleisiau;
Ffieidd-glwyf cas i'm mewn a ddaeth,
A llenwi wnaeth fy llwynau.†

Melus i'm harchwaeth afiach trwch
Yw lludw a llwch daearol;‡
'Does gennyf awydd am wir faeth,
Na blas ar luniaeth nefol.

Ni waeth dywedyd hyn na mwy,
Rhy ddwfn yw 'nglwy' i'w draethu;
A llawer gwell y gwyddost Ti
Nag gallaf fi fynegu.

* Y pen oll sy glwyfus, a'r holl galon yn llesg. O wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddo. *Esay* 1. 5, 6.

† Fy nghleisiau a bydrasant ac a lygrasant. Fy lwynau a lanwyd o ffieidd-glwyf, ac nid oes iechyd yn fy nghnawd. *Psalm* 38. 5, 7.

‡ Ymborth ar ludw y mae. *Esay* 44. 20.

Mi weriais ar feddygon byd
  Fy amser drud a'm helw;
Ond ni che's les o'r ddaear hon,
  'Rwy' heddyw bron a marw.

Cymmerais gyngor Gwagedd gwan,
  A chyngor gan Lawenydd;
Ond lles ac iechyd im' ni ddaeth,
  'Rwy 'n myned waethwaeth beunydd.

O Feddyg nef, os gelli ddim,
  Rho iechyd im' o'm clwyfau;
Mae son fod rhinwedd heb ei fath
  Yng nghyffyr da 'th bottelau.*

Y MEDDYG.

Daethost yn awr i'r unig fan,
  Cyn syrthio dan d' afiechyd;
Mae 'n rhyfedd iawn dy fod yn fyw,
  Pla pechod yw dy glefyd.

O frathiad Sarph y daeth dy glwyf,
  Llawn hyspys wyf o'th gyflwr;
Mi rof it' eli at y brath,
  Dy Feddyg a'th Iachawdwr.

Ymolch yn nwr Siloam lyn,
  Yn ffynnon bryn Calfaria;
Ymolch, a deui 'n iach a gwyn,
  Yn nyfroedd llyn Bethesda.

* Cynheliwch fi â phottelau—canys claf ydwyf. *Can.* 2. 5.

Fore a hwyr ymira di
  Ag eli duwiol dristwch;
Ac ŷf yn aml o'r gostrel hon,
  Diferion edifeirwch.

Os teimli 'n esmwyth, psalmau cân
  I'th Feddyg Glân i'w foli;
Ac os mewn adfyd dan law Ner,
  Bryd hynny arfer weddi.*

A thyred yn dy gyflwr claf
  Yn fynych attaf etto;
Tyred i'm Tŷ, sef Eglwys Ner,
  Y fan 'rwy 'n arfer trigo.

Tyred i hon o bryd i bryd
  I Swpper gyd â'th Feddyg;
I'r claf mae 'm Swpper yn ei gur
  Yn ymborth pur a phisyg.

Y CLAF.

Pa beth a dalaf, Iesu Mawr,
  It' am dy werthfawr gyngor?
'Rwy 'n teimlo 'i fod yn werth y byd
  A'r nef i gyd, a rhagor.

* A oes neb yn eich plith mewn adfyd? Gweddïed. A oes neb yn esmwyth arno? Caned psalmau. *Iago* 5. 13.

Ymddengys fod yr Apostol yn ystyried Gweddi a Mawl yn feddyginiaeth gyffredinol i gadw 'r Cristion mewn hwyl dan bob amgylchiad. Ac y mae yn St. Luc, fel yn St. Matthew, y Weddi a ddysgodd ein Harglwydd i ni, gyd â'r fraint ychwanegol hon, *y gorchymynir i ni ei dywedyd, pan weddïom.* Yn St. Luc hefyd y mae 'r Psalmau Cristionogol, sef, Càn y Fendigedig Forwyn, Cân Simeon, a Chân Zacharïas.

### Y MEDDYG.

Yn rhad heb arian ac heb werth
Cei gennyf nerth ac iechyd,
Un rad yw iachawdwriaeth dyn,
Fy rhodd fy Hun yw bywyd.*

### Y CLAF.

Dïolchaf, Arglwydd, itti byth,
Tra paro chwyth i'th foli;
Ac am dy ras i adyn gwan,
'Rwy 'n rhoi fy hunan itti.

## DYDD GWYL SANT SIMON A SANT JUDAS.

### UNDEB A ZEL.

Hollalluog Dduw, yr hwn a adeiladaist dy Eglwys ar sail yr Apostolion a'r Prophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben congl-faen; Caniatta i ni fod felly wedi *ein* cyssylltu ynghŷd yn undeb yspryd gan eu dysgeidiaeth hwy, fel y'n gwneler yn sanctaidd deml gymmeradwy gennyt, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Amen.*

*Y Colect am y Dydd.*

Un Tad, Un Mab, Un Yspryd Glân,
Yn ddiwahân a gredaf;
Un Corph, un Bedydd, un Ffydd wiw
Wrth Air fy Nuw a welaf.

* Dawn Duw yw bywyd tragywyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. *Rhuf.* 6. 23.

Dau Drïad yn cyd-dystio i ni,
  Tri 'r nef, a Thri y ddaear,
Mai Un yw Bod y Duwdod Glwys,
  Mai Un yw 'r Eglwys hawddgar.

Codwyd yr Eglwys gan Dduw Dad
  Yn *un* adeilad nefol;
Un corph sydd iddi, un sail faen,
  Ac un Pen congl-faen Grasol.

Un yw ei Hoffeiriadaeth bur
  O fewn ei mur sancteiddiol,
Yn gweini rhinwedd Gwaed y Groes
  O oes i oes olynol.

Yn Urdd ei hoffeiriadol fraint,
  Un yw ei hennaint peraidd;
Un, o ennyniad Yspryd IOR,
  Yw tân ei Hallor sanctaidd.

Ac os na fynni fod â'th fron
  O'r Allor hon yn rhannog,
Nid oes it' ran yn Eglwys IOR,
  Nac yn ei Phôr Galluog.

Os mynnaist urddau, (fatter dwys!)
  Heb ddwylaw 'r Eglwys Burlan,
Nid wyt ond lleidr a 'speiliwr pur,
  Ti ddringaist fur y gorlan!

Y Ffydd a roddwyd gynt i'r saint,
  (Pwy ddirnad faint y trysor!)
Ni feiddiwn roddi atti ddim,
  Nac mewn un dim ei hebgor.

O law i law drwy Eglwys Ner
  Nyni a'i derbyniasom;
I'n plant drachefn traddodwn hon
  Yn union fel y 'i cawsom.

Y gau ddych'mygion yn y byd
  O bryd i bryd ddyfeisiwyd
Yn rhith y Ffydd gan hwn a'r llall,
  O wynt y Fall y 'u cafwyd.

Rhyw blantos bwhwmmanllyd, caeth
  I bob dysgeidiaeth newydd
A gylch-arweinir gan ei gwynt,
  Ond gwael yw hynt eu crefydd!*

Duw, dysg im' ymladd dros y gwir,
  Na ad i'r anwir orthrech;
Bydd im' yn darian nos a dydd
  Ymhlaid y Ffydd i ymdrech.†

Na 'd im' ofalu na rhoi 'mryd
  Beth gan y byd y'm galwer,
Ond im' gael ymladd ymhob man
  Yn ffyddlon dan dy faner.

* Na feddylied neb mai dynion da sy 'n ymadael â'r Eglwys. Nid y gwenith mae 'r gwynt yn ei chwythu ymaith; nid y pren y bo 'i wreiddyn yn gadarn mae 'r 'storm yn ei daflu i lawr; nag ê, yr us gwag a chwelir gan y dymhestl, a'r preniau gweiniaid a ddymchwelir gan y corwynt. *St. Cyprian, de Unitate Ecclesiæ, yn y fl. o oed Crist* 251.

† Anghenrhaid oedd i mi ysgrifenu attoch, gan eich annog i ymdrech ymhlaid y ffydd, yr hon a rodded unwaith i'r saint. *St. Judas* 3.

Fy enaid fel Sant Simon wnaer,
(Mae mewn un gair ei hanes;)
A'th dân nefolaidd, Arglwydd mau,
Gwna finnau yn *Zelotes.**

### DYDD GWYL YR HOLL SAINT.

#### TE DEUM LAUDAMUS.

Tyrfa fawr, yr hon ni allai neb ei rhifo, o bob cenedl, a llwythau, a phobloedd, ac ieithoedd. *Dat.* 7. 9.

Tydi, O Dduw, a folwn byth,
Addefwn Di ein Ner di lyth:
Y Tad Trag'wyddol yn y nef,
Y Ddaear oll a seinia 'th fawl,
Y Nefoedd fry, ac Engyl gwawl,
A'u Nerthoedd oll, â llafar lef.

Cerubin a Seraphin Glân,
I'th Enw gwiw dyrchafant gân,
Ac arnat llefant byth heb daw,
O Sanct, Sanct, Sanct, ac Arglwydd Dduw
Sabaoth. Llawn o'th Foliant yw
Y Ddaear hon a'r Wiwnef draw.

* *Simon Zelotes.* Gair Groeg yw *Zelotes,* yn arwyddo *selog.* Gelwir yr Apostol hwn hefyd yn *Simon y Canaanead.* Gair o'r Syriaeg yw *Canaanead,* yr hwn hefyd sy 'n arwyddo *selog.*

Y Disglair Apostolaidd Gôr,
Glwys nifer dy Brophwydi, Ior,
  Ardderchog lu 'r Merthyri Gwiw,
A'th folant oll. Yr Eglwys Lân,
A phawb o'i mewn yn fawr a mân,
  Drwy 'r byd a'th addef Di, O Dduw.

Y Tad, o fawredd na's gall Saint
Na Sereiph fesur byth ei faint;
  Dy Unig Fab, Clodforus, Gwir;
Ac hefyd fyth yr Ysbryd Glân,
Yn un â'r Duwdod diwahân,
  Diddanydd tristion Saint ein tir.

Ti, Crist, yw Brenhin Gwynfa fad,
Ti yw Trag'wyddol Fab y Tad.
  Pan ddaethost i waredu dyn,
Bru 'r Wyryf ni ddirmygaist Ti,
Ond daethost, yn dy ras, i ni
  Yn Gâr ac Anwyl Frawd dy Hun.

Pan lwyr orchfygaist angau llym,
I bawb a gredant, yn dy rym
  Agoraist byrth y nefoedd wen;
Eisteddaist ar ddeheulaw 'r Tad,
Gogoniant Duw yw 'th orsedd fad,
  Mewn urddas fry tu fewn i'r llen.

Credwn mai Ti, pan ddelo 'r pryd,
A ddaw i'n barnu 'niwedd byd:
  Gan hynny nertha 'th weision gwael
Y rhai a brynaist ar y pren
I etifeddu 'r nefoedd wen,
  A'th werthfawroccaf Waed mor hael.

Par iddynt, Arglwydd, gyd â'th Saint
Gael etifeddu nefol fraint
  Gogoniant bythol Nef uwch ben.
Rhag niwaid cadw 'th bobl i gyd;
I'th etifeddiaeth yn y byd
  Dod bur fendithion gwlith y Nen.

Llywia dy weision â dy Air,
Ac yn y diwedd hyn a bair
  Ddyrchafiad bythol iddynt hwy,
Beunydd ac fyth clodforwn Di;
I'th Enw mawr rhown barch a bri
  Diderfyn yn oes oesoedd mwy.

Teilynga, Arglwydd, yn dy ras
Ein cadw rhag pob pechod cas
  Y diwrnod hwn a phob rhyw awr:
O Arglwydd, wrthym trugarhâ,
Trugaredd rad â'th weision gwna,
  Sydd heddyw 'n llefain ar y llawr.

O deued, Arglwydd, hyn yw 'n cri,
Dy fawr drugaredd arnom ni,
  Ac ymddiriedwn ynot fyth:
Fy holl ymddiried ynot fu,
Na'm gwaradwydder, Arglwydd cu,
  Ond arddel fi â'th ras di lyth.

TERFYN.